# ABRAHAM LINCOLN

Chwareawd

Gan John Drinkwater

*Cyfieithiad Buddugol yn Eisteddfod Genedlaethol Pontypwl*, 1924, *gan y*
*Parch. J. E. Davies, M.A.*
*(Rhuddwawr).*

LIVERPOOL: Yng Ngwasg *Y Brython*,
Hugh Evans a'i Feibion, 356/8 Stanley Rd.

PRIS HANNER CORON.

*Rhaid cael caniatad i chwareu'r Ddrama hon. Anfoner at y Cyhoeddwyr am delerau. . .*

# ABRAHAM LINCOLN

## Chwareawd

## Gan John Drinkwater

*Cyfieithiad Buddugol yn Eisteddfod Genedlaethol Pontypwl*, 1924, *gan y*
*Parch. J. E. Davies, M.A.*
*(Rhuddwawr).*

LIVERPOOL: Yng Ngwasg *Y Brython*,
Hugh Evans a'i Feibion, 356/8 Stanley Rd.
MCMXXIV.

# *NODIAD GAN YR AWDUR.*

*WRTH ddefnyddio, i amcanion drama, bersonoliaeth ag y mae ei glod mor eang ac mor ddiweddar ag eiddo Abraham Lincoln, teimlaf fod sylw neu ddau yn ddyledus i'm darllenwyr a'm beirniaid.*

*Yn gyntaf, fy amcan ydyw, nid eiddo yr hanesydd, ond y dramodwr. Yn hanesyddol, y mae fy arwr wedi cael ei gyflwyno yn ffyddlon mewn amryw gyfrolau ; ac yn neilltuol, yn Lloegr, gan Arglwydd Charnwood, mewn cofiant sydd yn rhoddi elfeniad meistrolgar o yrfa a chymeriad Lincoln, ac, fel yr ymddengys i mi, sydd yn gynllun o'r hyn ddylai gwaith yr hanesydd fod. I'r llyfr hwn yr wyf yn ddiolchgar-ddyledus am y defnyddiau at fy chwareawd. Ond tra na wneuthum ddim, gobeithiaf, yn groes i hanes, mi a gymerais fy rhyddid i ad-drefnu yr amgylchiadau a dychmygu y symudiad, mewn ffyrdd a farnwn yn angenrheidiol er rhoi ffurf i ystyr ddramayddol fy mhwnc.*

*Yn ail, fy amcan yw eiddo y dramodwr, ac nid eiddo yr athronydd gwleidyddol. Mater dyrus iawn oedd yr Enciliad, ar yr hwn y gall opiniynau uchel a haelfrydig wahaniaethu ; ond am fy mod i yn meddu, neu heb fod yn meddu cydymdeimlad â pholisi a barn Lincoln ar y pwnc, nid yw ddim. Yr hyn sydd wedi dwyn fy meddwl i ydyw diddordeb dramayddol dwfn ei gymeriad, ac esiampl ysbrydoledig dyn wnaeth drafod y rhyfel yn anrhydeddus, a chydag amgyffrediad clir.*

*Yn olaf, Sais ydwyf fi, ac nid dinesydd o'r wlad fawr roddodd enedigaeth i Lincoln. Am hynny, yr wyf wedi ysgrifennu fel Sais, heb gynnig at roddi " Lliw lleol " ar ddim nad oes gennyf brofiad ohono, ac heb siarad mewn llediaith na chefais fy nwyn i fyny ynddi. Byddai gwneuthur yn wahanol, fel ag yr wyf yn sicr y cydnebydd unrhyw ffrindiau Americanaidd y bydd fy chwareawd mor ffodus a'u gwneuthur, yn ddim amgen na thrafod pwnc mawr gydag ysgafnder.*

*J.D.*

## *NODIAD GAN Y CYFIEITHYDD.*

*Y MAE gair neu ddau o eglurhad yn angenrheidiol i'r darllenwyr a'r beirniaid Cymreig hefyd.*

*Yn gyntaf: Fe welir nad amcenais at gyfieithu enwau priodol lleoedd a phersonau. Bernais yn ddoeth beidio cynnig, am y byddai gwneuthur hynny yn mynd a ni i awyrgylch arall, ac yn newid safle y Chwareawd yn gyfangwbl.*

*Yn ail: Ceisiais beidio bod yn rhy glasurol yn fy arddull Gymreig, ar y naill law, ac ar y llaw arall, ceisiais beidio disgyn yn isel, fel ag i arfer iaith gyffredin, werinol, a sathredig. Ysgoi y "rhy" ar y naill law a'r llall oedd fy amcan.*

*Yn olaf: Wrth drosi'r chwareawd o'r Saesneg i'r Gymraeg, fy amcan pennaf oedd ceisio bod yn sicr yn fy meddwl fy hun ar i'r gwaith gael ei wneuthur yn y fath fodd ag i fod yn eglur-ddealladwy i gynhulliad o Gymry eiddgar. I gyrraedd yr amcan hwn, rhaid, weithiau, beidio cyfieithu yn fanwl lythrennol, a rhaid, o'r tu arall, oedd peidio arfer gormod o ryddid. Gwneuthur y meddwl yn glir, mewn iaith rwydd, lân, oedd y peth mawr yn fy ngolwg.*

*J. E. DAVIES.*

# ABRAHAM LINCOLN.

*Dau Groniclydd :*

*Y ddau yn siarad ynghyd :*

Geraint, chwychwi gewch weld yn glir
Ein llwyfan yn dynwared gwir
    Gymeriad dynol.
Bob pryd, ymhobman, hyn sy'n rhyfeddol,
Nid y cyfnewidiol ddigwydd ar bob llaw—
Pydewau, tyrrau, newid chwim ;
Ond bryd a dewredd gwr a'i rym,
Drwy bopeth mewn yn glyd i'r porthladd ddaw.

Goruchwylwyr yw y digwyddiadau,
Y perlewygon syn a'r profedigaethau,
I brofi'n puredd, neu'n anghofrwydd ni,
Pan mewn mwynhad o harddwch teg a hedd,
Maent megis harddwch teg a hedd pob dyn :
    A phan y down i'r bedd,
Ac olaf gnul y farn i dorri ar ein clyw,
    Ni fydd y dynged honno
    Ond megis gwisg i'w chofio,—
Ymddygiad dyn y cyfan yw.

Felly, Geraint, gwelwch,
Nid rhywbeth a fawrygwch
    Am foment, ac a ffy ;
Ond chwi gewch weld yn glir
Ein dynwarediad gwir
    O ysbryd dyn anfarwol fel y try.

*Y Croniclydd cyntaf :*

Unwaith pan oedd perygl du
Yn bygwth rhyddid Lloegria gu,
A neb yn enwog megis llyw
    O fewn y tir,
At ryw wrol-ddyn dewr ei fron,
A wyliai draw yn Huntingdon,
    Daeth gwŷs a galwad fyw :
Difodwyd trais cyn hir,
    A Chromwel goncrodd dros ei ryw.

*Yr ail Groniclydd :*

Ac yn y wlad lle glaniodd
  Y llong Mayflower gynt,
Am gyngor yr ymgeisiodd,
  A d'ryswch ar ei hynt,—
'Doedd neb allasai ddwyn ynghyd
Feddyliau crwydrol gwerin syn,
A gwneuthur deddf a rhyddid gwyn
    Yn un o fewn y byd ;
Ond wedi hanner canmlwydd hir,
Yn Illinois bell y daeth
Y gair a glyw y Werydd heddyw'n glir,
A Lincoln oedd y gŵr a'i gwnaeth.

*Y ddau yn siarad ynghyd :*

Efelly deffry ysbryd cudd
    I'w genedigaeth
    Gudd amgylchiadau,
Ac amser mewn cenhedlaeth drydd
Ryfeddodau mawrion yn chwedloniaeth,
A'u cofio fel ar ddamwain weithiau
    Wrth dân a gânt ;
Ond gwres ac ynni yr ymddygiad,
Teithi balch ac anorchfygol y cymeriad—
    Y rhain barhant.

GOLYGFA I.

*Parlwr yn nhy Abraham Lincoln, yn Springfield, Illinois, yn gynnar yn* 1860. MR. STONE, *amaethwr, a* MR. CUFFNEY, *masnachwr, y ddau yn ddynion rhwng* 50 *a* 60, *yn eistedd o flaen tân yn gynnar yn y gwanwyn. Mae'n tywyllu, ond nid oes orchudd dros y ffenestri. Y mae'r ddauddyn yn ysmygu mewn tawelwch.*

*Mr. Stone* (*wedi saib*) : Abraham. Mae'n enw da i ddyn ei ddwyn, sut bynnag.

*Mr. Cuffney :* Ydyw, mae hynny yn wir.

*Mr. Stone* (*wedi saib arall*) : Abraham Lincoln. Yr wyf yn ei adnabod ers 40 mlynedd. Nid oes dim yn wyrgam ynddo. Wel.

*Mae'n curo ei bibell yn feddylgar ar yr alch. Saib arall. Susan, morwyn, yn dyfod i mewn, ac yn prysuro i oleuo'r canhwyllau a thynnu'r llenni.*

*Susan :* Mae Mrs. Lincoln newydd ddyfod i mewn. Dywed y bydd yma yn y man.

*Mr. Cuffney :* Diolch.

*Mr. Stone :* Nid yw Mr. Lincoln gartref eto, mi dybiaf.

*Susan :* Nac ydyw, Mr. Stone. Ni fydd yn hir, a'r holl foneddigion yn dyfod yma.

*Mr. Stone :* Sut y carech chwi weled eich meistr yn Arlywydd yr Unol Daleithiau, Susan ?

*Susan :* 'Rwy'n sicr y gwnâi yn dda, Syr.

*Mr. Cuffney :* Byddai yn rhaid iddo adael Springfield, Susan, a mynd i fyw yn Washington.

*Susan :* Mi fentra' ddweyd y cymrem at Washington yn bur dda, Syr.

*Mr. Cuffney :* O mae'n dda gennyf glywed hynyna.

*Susan :* Mae Mrs. Lincoln braidd yn hynod gyda golwg ar fwg tybaco.

*Mr. Stone :* Ydyw, bid sicr ; diolch Susan.

*Susan :* Nid yw Meistr yn ysmygu, chwi a wyddoch. Ac y mae Mrs. Lincoln yn neilltuol o ofalus ynghylch yr ystafell hon.

*Mr. Cuffney :* Yn hollol felly. Yr ydych yn hynod o ystyriol, Susan.

*Y ddau'n diffodd eu pibellau.*

*Susan :* Er fod rhai dynion na chredant y gall boneddwr beidio gwneud a fynno yn ei dŷ ei hun, fel y dywedir.

*Hi yn myned allan.*

*Mr. Cuffney (ar ol saib drachefn, gan drafod ei bibell) :* Tybiaf nad oes dim amheuaeth ynghylch y neges a ddygant.

*Mr. Stone :* Na, y mae hynny wedi ei benderfynu tu hwnt i ddadl. Y mae i fod yn wahoddiad. Y mae hynny cyn sicred a bod John Brown wedi marw.

*Mr. Cuffney :* Ni ellais erioed wneud allan yn gywir syniad Abraham am yr hen John. Ni allasai un aros caethwasiaeth yn fwy na'r llall, eto nid oedd Abraham yn gallu synied am yr hen frawd yn sefyll i fyny yn ei erbyn hyd at y cledd. Philosoffi wael, neu rywbeth felly, y galwai efe'r peth. Siaradai am benboethiaid y rhai na wnant ddim ond cael eu hunain wrth ben y rhaff.

*Mr. Stone :* Saif Abraham yn hollol dros y cyfansoddiad. Y mae arno eisiau i'r cyfansoddiad fod yn feistr gonest. Nid oes a ddymuna yn fwy na hynny, ac fe saif dros hynny, yn gadarn ei ysbryd fel Samson, os yr aiff i Washington. Efe a roddai ei fywyd i berswadio'r Llywodraeth yn erbyn caethwasiaeth ; ond hyd onid argyhoeddir hi, ac y gwnelo ddeddfau yn ei erbyn, ni fydd a wnelo efe ag ymosod yn enw cyfreithiau sydd heb eu gwneud. Dyna paham y darfu i ymyriad yr hen John sefyll yn ei wddf.

*Mr. Cuffney :* Yr oedd efe yn ddyn dewr, i fynd fel yna, gydag ychydig wŷr selog fel ei hun, a rhyw lonaid llaw o ddynion duon, i ryddhau miloedd.

*Mr. Stone :* Oedd, a geiriau cryfion oedd y rhai hynny (a ddywedodd) pan ddygasant ef allan i'w grogi—" 'Rwy'n meddwl, gyfeillion, eich bod yn euog o ddrwg mawr yn erbyn Duw a dynoliaeth. Gellwch yn hawdd wneud i ffwrdd â mi ; yr wyf eisoes bron ar ddarfod am danaf. Y mae y pwnc hwn eto i'w benderfynu—pwnc y negroaid wy'n feddwl. Nid yw y diwedd yn y golwg eto." Yr oeddwn i yno y diwrnod hwnnw. Yr oedd Stonewel Jackson yno. Trodd efe ymaith. Yr oedd milwriad yno yn gwneud penodiadau. Pan oedd y cyfan dros-

odd, efe a lefodd gan ddywedyd " Felly darfydded holl elynion yr hil ddynol." Ond dim ond y rhai hynny oedd yn ofni colli eu caethion a gredasant.

*Mr. Cuffney* (*saib*): Drwg o beth oedd crogi dyn fel yna. Y maent wedi gwneud cân am dano.

*Mae'n canu yn dawel :*

" Mae corff John Brown yn pydru yn y bedd
Ond ei ysbryd gerdd ymlaen."

*Mr. Stone :* 'Rwy'n gwybod.

*Y ddau ynghyd yn canu yn dawel :*

" Mae sêr y nef yn tyner edrych lawr
Ar fedd yr hen John Brown."

MRS. LINCOLN, *ymhen ennyd, yn dyfod i mewn, Y dynion yn codi.*

*Mrs. Lincoln :* Prynhawn da, Mr. Stone; prynhawn da, Mr. Cuffney.

*Mr. Stone a Mr. Cuffney :* Prynhawn da, mam.

*Mrs. Lincoln :* Eisteddwch i lawr, os gwelwch yn dda.

*Oll yn eistedd.*

*Mr. Stone :* Prynhawn pwysig yw hwn i chwi, mam.

*Mrs. Lincoln :* Ie'n wir.

*Mr. Cuffney :* Pa bryd yr ydych yn disgwyl y ddirprwyaeth, mam ?

*Mrs. Lincoln :* Y maent i fod yma am 7 o'r gloch (*gan arogli*). Yn sicr, nid yw Abraham wedi bod yn ysmygu.

*Mr. Stone* (*yn codi*): A gaf fi agor y ffenestr, mam. Mae'n fwll gyda'r nos.

*Mrs. Lincoln :* Mae'n naturiol ym Mawrth. Gadewch y ffenestr, Samuel Stone. Nid ydym yn ysmygu yn y parlwr.

*Mr. Stone* (*yn ail gymryd ei sedd*): Dim ar unrhyw gyfrif, mam.

*Mrs. Lincoln :* Mi fyddaf yn ddiolchgar i chwi.

*Mr. Cuffney :* A ydyw Abraham wedi penderfynu beth i ddweyd gyda golwg ar y gwahoddiad ?

*Mrs. Lincoln :* Y mae yn mynd i'w dderbyn.

*Mr. Stone :* Penderfyniad doeth iawn, os caf ddweyd felly.

*Mrs. Lincoln :* Ie.

*Mr. Cuffney :* Ac yr ydych chwi, mam, wedi ei gynghori felly, 'rwy'n sicr.

*Mrs. Lincoln :* Dywedasoch fod hon yn noson bwysig i mi. Y mae felly, ac mi ddywedaf fwy nag wy'n arfer ddweyd am ei bod felly. Mae'n debyg y deuaf i mewn i hanes gyda dyn mawr. Canys gwn yn well na neb arall pa mor fawr ydyw. Cyffredin yr olwg wyf fi, a chennyf dafod llym, a meddwl nad yw yn barod bob amser i fynd yn ei ffordd rwydd ac urddasol ef. A dyna yr hyn a wêl hanes, efe a chwardd ychydig, ac a ddywed " Druan o Abraham Lincoln." Mae hynyna yn iawn ; ond nid dyna'r cwbl. Fe wybum i bob amser pa bryd yr oedd efe i fynd yn y blaen, a pha bryd i beidio. Bûm yn gwylio a gwylio, a'r hyn a ddysgais a fydd yn fantais i America. Y mae gwragedd fel yna, lu ohonynt, ond yr wyf fi yn ffodus. Cyrhaedda fy ngwaith ymhellach nag Illinois, cyrhaedda ymhellach nag y gall yr un ohonom ddweyd. Pan oeddym yn dlawd, mi wneuthum y ffordd yn rhwydd iddo ef feddwl, a meddwl ; ac yn awr, y mae ei waith yn meddwl wedi arwain i hyn. Darfu iddynt amcanu ei wneud yn Llywodraethwr Oregon, a buasai efe wedi cydsynio, a dyfod i ddim yno. Rhwystrais i ef. Yn awr, y maent yn dyfod i ofyn iddo fod yn Arlywydd, ac yr wyf fi wedi dweyd wrtho am fynd.

*Mr. Stone :* Os gwelwch yn dda, mam, yr wyf yn dymuno ymddiheuro am ysmygu yn y lle hwn.

*Mrs. Lincoln :* Dim gwahaniaeth, Samuel Stone, ond na wnewch eto.

*Mr. Cuffney :* Y mae yn lle pwysig i ddyn ei lanw. A wyddoch chwi pa olwg a gymer Seward ar y ffaith fod Abraham wedi ei enwi gan y Gwerinwyr ?

*Mrs. Lincoln :* Y mae Seward yn uchelgeisiol. Yr oedd yn disgwyl cael ei enwi. Gŵyr Abraham sut i wneud defnydd ohono.

*Mr. Stone :* Y mae y rhwyg Democrataidd yn gwneud etholiad dewis-ddyn y Gwerinwyr yn sicr, mi dybiaf.

*Mrs. Lincoln :* Mae Abraham yn dweyd hynny.

*Mr. Cuffney :* Wyddoch chwi beth, mae'n anodd credu. Pan feddyliwyf am yr amserau yr eisteddwn yn yr ystafell

hon, frig hwyr, ac y gwelwn eich gŵr yn dyfod i mewn mam, gyda het dolciog, a bron syrthio yn ol dros ei wegil, ac yn llawn papurau nad allai ei logellau eu cynnwys; ac yn bytheirio rhyw chwiwgi oedd yn ei boeni ynghylch rhyw drosglwyddiad neu drosedd,—ni allaf feddwl amdano yn mynd fyny acw i ymddangos o flaen llygaid yr holl fyd.

*Mrs. Lincoln :* Yr wyf, ers blynyddoedd, wedi ceisio ganddo brynu het newydd.

*Mr. Cuffney :* Y mae gennyf fi ystoc fawr iawn newydd gyrraedd o New York. Efallai y gwnaiff Abraham ganiatau i mi roddi un iddo ar ei fynediad.

*Mrs. Lincoln :* Efallai; ond gwisgo yr hen a wna.

*Mr. Stone :* Caethwasiaeth a'r De. Y mae y rhai hyn yn faterion dyrys iddo i'w trafod. Ni ddaeth y diwedd eto. Dyna ddywedodd yr hen John Brown,—" Ni ddaeth y diwedd eto."

*Abraham Lincoln yn dyfod i mewn gyda hen het werdd gopa hir, dolciog, bron ar ei wegil, a'i dalcen yn noeth, a'i logellau yn fwy na llawn o bapurau. Mae'n* 50 *oed, ac wedi eillio yn lân fel arfer. Cusanna ei wraig, ac ysgwyd ddwylo gyda'i gyfeillion.*

*Lincoln :* Wel, Mari. Sut y mae, Samuel? Sut y mae, Timothy?

*Mr. Stone a Mr. Cuffney :* Prynhawn da, Abraham.

*Lincoln* (*tra yn tynnu ei het, ac yn ysgwyd allan yr amrywiol bapurau o blygion ei ddillad i'r dror*): John Brown a ddywedasoch? Ie, John Brown. Ond nid dyna'r ffordd i wneud y peth. Ni ellwch wneud y peth iawn mewn ffordd heb fod yn iawn. Mae hynny cynddrwg â'r drwg ei hun, os ydych yn bwriadu cadw'r wlad gyda'i gilydd.

*Mr. Cuffney :* Wel, rhaid i ni fynd. Deuthom yma yn unig i ddymuno yn dda i chwi, fel y dywedir, ynglŷn â'r gair pwysig sydd gennych i'w draethu heno.

*Mr. Stone :* Y mae yn ddigon a pheri i ddyn cyffredin bron ofni ei hun, Abraham, i wybod fod ei gyfaill i fod yn un o fawrion y ddaear, gyda'i *ie* a'i *nage* yn ddeddf i filmiloedd o'r werin bobl.

*Lincoln :* Y mae yn gwneud dyn yn ostyngedig i gael ei ddewis felly, Samuel, mor ostyngedig fel nad oes neb na ddywedai " Na " i orchymyn o'r fath, pe meiddiai. Bod yn Arlywydd i'r bobl hyn, a gofid yn ymgasglu ymhob man yng nghalonnau dynion. Mae hynny yn rhywbeth sydd yn mynd trwy ddyn. Chwerwder, diystyrwch, ac ymladd yn fynych â dynion, a ddirmygaf. Ac efallai na etyb y peth ddim pwrpas yn y diwedd. Ond mae'n rhaid i mi fynd. Rhaid. Diolch i chwi, Samuel ; diolch i chwi, Timothy. Gwydraid bach o eli'r galon, Mari, cyn iddynt fynd.

*Yn myned i'r cwpwrdd.*

Parddu'r diafol fo ar y lodes yna.

*Yn galw wrth y drws.*

Susan, Susan Doddington ! Pa le, yn enw'r diafol, y mae eli'r galon ?

*Mrs. Lincoln :* Y mae popeth yn iawn. Mi ddywedais wrth y lodes am ei gadw allan. Y mae'r cwpwrdd yn fwy na llawn o bapurau.

*Susan* (*yn dyfod i mewn gyda chostrel a gwydrau*) *:* Y mae'n ddrwg gennyf. Dywedwyd wrthyf ——.

*Lincoln :* Popeth yn iawn. Popeth yn iawn, Susan. Brysiwch oddi yma.

*Susan :* Diolch i chwi, syr.

*Hi yn mynd.*

*Lincoln* (*yn arllwys y ddiod*) *:* Croeso gwael yw hwn i chwiwgwn fel chwi sydd yn arfer yfed diodydd poethion. Ond y mae'r meddwl yn dda.

*Mr. Stone :* Peidiwch dweyd dim, Abraham.

*Mr. Cuffney :* Ein dymuniadau da i chwi, Abraham. Ein llongyfarchiadau, mam. Duw a fendithio America. Samuel, yr wyf yn rhoddi i chwi yr Unol Daleithiau, ac Abraham Lincoln.

*Mr. Cuffney a Mr. Stone yn yfed.*

*Mrs. Lincoln :* Diolch i chwi.

*Lincoln :* Samuel, Timothy, 'rwy'n yfed yn y gobaith y byddwch yn ffrindiau gonest. Mari, cyfeillgarwch.

Bydd arnaf angen hynny yn wastadol, canys y mae gennyf galon sydd yn llawn o bryder. Duw fendithio'r America.

*Efe a Mrs. Lincoln yn yfed.*

*Mr. Stone :* Wel, nos da, Abraham ; nos da, mam.

*Mr. Cuffney :* Nos da, nos da.

*Mrs. Lincoln :* Nos da, Mr. Stone ; nos da, Mr. Cuffney.

*Lincoln :* Nos da, Samuel ; nos da, Timothy. Diolch i chwi am ddyfod.

*Mr. Stone a Mr. Cuffney yn mynd allan.*

*Mrs. Lincoln :* Byddai yn well ichwi eu gweled i mewn yma.

*Lincoln :* Da. Pum munud i saith, yr ydych yn hollol sicr, Mari.

*Mrs. Lincoln :* Ydwyf, onid ydych chwi ?

*Lincoln :* Bwriadwn roddi terfyn ar gaethwasiaeth. Fe wrthyd y De. Dichon y ceisiant dorri'n rhydd o'r Undeb. Ni ellir caniatau hynny. Os rhoddir yr Undeb o'r naill du, chwelir America. Gall diogelu yr Undeb olygu gwaed.

*Mrs. Lincoln :* Pwy sydd i lunio'r cyfan, os na wnewch chwi ?

*Lincoln :* Nid oes neb, mi wn hynny.

*Mrs. Lincoln :* Am hynny, ewch.

*Lincoln :* Mi af.

*Mrs. Lincoln* (*wedi eiliad*) *:* Mae'r het hon yn warth i chwi, Abraham. Nid ydych yn talu sylw i'r hyn a ddywedaf, ac yr ydych yn meddwl nad yw o bwys. Dylai dyn fel chwi feddwl rhyw ychydig am foneddigeiddrwydd.

*Lincoln :* Bid sicr. 'Rwy'n anghofio.

*Mrs. Lincoln :* Nac ydych. Ond yr ydych yn ddisylw Bu Samuel Stone yn ysmygu i fewn yma.

*Lincoln :* Y mae ef yn ddiofal, druan tlawd.

*Mrs. Lincoln :* Ydyw, ac yr ydych chwithau yn rhoi esiampl ryfedd iddo. 'D ydych chwi ddim yn gofalu os y gwna fy mharlwr i arogli gwenwyn.

*Lincoln :* Wrth gwrs, yr wyf.

*Mrs. Lincoln :* Nac ydych. Y mae eich pen yn rhy lawn o bethau i feddwl am fy ffyrdd i. Mae gennyf fi gymydogion, os nad oes gennych chwi.

*Lincoln :* Wel, yn awr, y mae eich cymdogion chwi yn gymdogion i minnau, mi dybiaf.

*Mrs. Lincoln :* Felly, paham na roddwch ryw gymaint o sylw i ymddangosiad ?

*Lincoln :* Yn wir, mae'n rhaid i mi.

*Mrs. Lincoln :* A wnewch chwi fynnu het newydd ?

*Lincoln :* Gwnaf, y mae'n rhaid i mi weld yn ei chylch.

*Mrs. Lincoln :* Pa bryd ?

*Lincoln :* Ymhen diwrnod neu ddau. Cyn hir.

*Mrs. Lincoln :* Y mae gennyf fi well tymer nag y gall neb feddwl.

*Lincoln :* Oes, fy anwylyd, ac y mae arnoch ei hangen, 'rwy'n cyffesu.

*Susan yn dyfod i mewn.*

*Susan :* Y mae'r boneddigion wedi dyfod.

*Mrs. Lincoln :* Mi ddeuaf atynt.

*Susan :* Oes angen cadach llogell ar fy meistr, mam ? Ni chymrodd un yn y bore.

*Lincoln :* Dim gwahaniaeth yn awr, Susan.

*Susan :* Os gwelwch yn dda, dyma un i chwi, syr.

*Hi yn myned allan.*

*Mrs. Lincoln :* Anfonaf hwynt i mewn, Abraham. Ymddiriedaf ynoch.

*Lincoln :* Mi wn, mi wn.

MRS. LINCOLN *yn myned allan.* LINCOLN *yn symud at fap yr Unol Daleithiau sy'n hongian ar y mur, yn sefyll gan edrych yn ddistaw arno. Susan, mewn ychydig eiliadau, yn dyfod at y drws.*

*Susan :* Ffordd hon, os gwelwch yn dda.

*Cyfarwydda i fewn* WILLIAM TUCKER, *masnachwr llwyddiannus a gwridgoch ;* HENRY HIND, *cyfreithiwr bychan bywiog ;* ELIAS PRICE, *pregethwr cynorthwyol teneu ; a* JAMES MACINTOSH, *golygydd newyddiadur Gweriniaethol. Susan yn mynd allan.*

*Tucker :* Mr. Lincoln, Tucker yw fy enw i,—William Tucker.

*Cyflwyna ei gymdeithion.*

Mr. Henry Hind, yr hwn sydd yn dilyn eich galwedigaeth chwi, Mr. Lincoln, ac arweinydd y fainc yn Ohio; Mr. Elias Price, o Bensylvania, efallai eich bod wedi ei glywed yn pregethu; James Macintosh, a adwaenoch. Yr wyf fi yn dyfod o Chicago.

*Lincoln :* Foneddigion, yr wyf at eich gwasanaeth. Sut yr ydych chwi, James? A wnewch chwi eistedd i lawr?

*Yn eistedd o amgylch y bwrdd.*

*Tucker :* Y mae i mi yr anrhydedd o fod yn gadeirydd y ddirprwyaeth hon. Yr ydym wedi ein hanfon gan y Gynhadledd Werinol, o Chicago, i ofyn a wnewch chwi dderbyn gwahoddiad i fod yn ymgeisydd y Weriniaeth am y swydd o Arlywydd yr Unol Daleithiau.

*Price :* Y mae'r Gynhadledd yn ymwybodol, Mr. Lincoln, o dan yr amgylchiadau, gan fod y Democrat-iaid wedi ymrannu, fod hyn yn fwy na gwahoddiad i ym-geisiaeth. Y mae'r hwn a enwir braidd yn sicr o gael ei ethol.

*Lincoln :* Foneddigion, nid wyf yn adnabyddus ond yn unig i un ohonoch. A wyddoch chwi am fy lliaws anghym-wysterau i'r gwaith?

*Hind :* Nid yw ond teg dywedyd eu bod wedi bod o dan ystyriaeth fanwl.

*Lincoln :* Y mae rhai, gawn ni ddywedyd, grasusau, nad ydynt gennyf. Ac nid yw Washington yn esgeulus o'r rhai hynny.

*Tucker :* Fe soniwyd amdanynt. Ond dyddiau yw y rhai hyn, Mr. Lincoln, os caf ddweyd felly, rhy anodd, rhy beryglus, i'r pethau hyn bwyso, ar draul rhinweddau eraill ag yr ydych chwi yn feddiannol arnynt.

*Lincoln :* Y mae Seward a Hook wedi cael profiad helaeth.

*Macintosh :* Ni chafodd Hook fawr o gefnogaeth. Am Seward, y mae amheuaeth gyda golwg ar ei ddoethineb ef.

*Lincoln :* Na fyddwch dan unrhyw gamddealltwriaeth, erfyniaf arnoch. 'Rwy'n amcanu at fod yn gymhedrol mor bell ag y mae hynny yn onest. Ond yr wyf yn ddyn anhyblyg iawn, foneddigion. Os bydd i'r De sefyll yn benderfynol dros ledaenu caethwasiaeth, a dal ar yr hawl i ymneilltuo, fel y gwyddoch y gall wneud a bod y

cyfrifoldeb o benderfynu'r mater yn gorffwys arnaf fi, bydd yn golygu gwrthwynebiad anghymodlawn, hyd at waed, os rhaid hynny. Yr wyf yn dymuno fod meddwl pawb yn glir ar y pen yna.

*Price :* Rhaid i chwi benderfynu, ac yr ydym yn credu amdanoch eich bod yn ddyn cywir a gonest, Mr. Lincoln.

*Lincoln :* Bydd Seward a Hook yn rhai anodd eu trafod fel israddolion.

*Tucker :* Bydd yn rhaid eu trafod felly, ac nid oes neb yn fwy tebyg o lwyddo na chwi.

*Lincoln :* A wna eich Gwasg Weriniaethol chwi fod o fy mhlaid, James, ar bwnc o egwyddor, beth bynnag ddaw ?

*Macintosh :* Nid oes yr un dyn arall ag y byddwn mor barod i'w ddilyn.

*Lincoln :* Os yr anfonwch fi, ni wna'r De ond chwerthin am ben eich dewisiad.

*Hind :* Credwn y bydd i chwi oroesi eu chwerthin.

*Lincoln :* Gallaf ddal gwatwareg unrhyw ddyn—yr wyf wedi fy nysgu i hynny gan ffugyr go ryfedd y gwelodd Duw yn dda roddi i mi, os caf fod dipyn yn chwareus gyda chwi. Ond y mae achos caethwasiaeth i fod yn hir, yn ddwfn, ac yn chwerw. Mi wn hynny. Os gosodwch arnaf yr anrhydedd yma, foneddigion, rhaid i chwi beidio disgwyl am unrhyw gyfaddawd oddi wrthyf yn y mater hwn. Os daw diddymiad mewn unrhyw ffordd gyfansoddiadol yn ei amser, popeth yn dda. 'Rwy'n dymuno hynny. Ond tra na wnawn wthio diddymiad, ni allwn gymeradwyo caethwasiaeth, ac nis goddefwn iddo ledu ei derfynau ddim cymaint a llathen. Y mae'r penderfyniad yn fy ngwaed. Pan oeddwn yn fachgen, mi a gymerais daith i New Orleans, ac yno mi a'u gwelais, yn cael eu curo, a'u cicio yn y fath fodd ag y byddai cywilydd ar ddyn weled ci drwg yn cael ei gicio felly. Ac mi welais ferch ieuanc yn cael ei gyrru i fyny ac i lawr hyd yr ystafell, fel y gallasai y masnachwyr foddhau eu hunain. Ac mi ddywedais y pryd hwnnw,—" Os byth y caf gyfle i daro y peth hwn, mi a'i tarawaf yn galed."

*Saib.*

Oes gennych chwi ddim telerau i'w gosod ?

*Tucker :* Dim.

*Lincoln* (*yn codi*) *:* Mae Mrs. Lincoln a minnau yn dymuno ar i chwi gymryd swper gyda ni.

*Tucker :* Yn sicr, y mae hyn yn garedig iawn ynoch ; ac yn awr, eich ateb, Mr. Lincoln.

*Lincoln :* Pan ddeuthoch yma, nid oeddych yn fy adnabod, Mr. Tucker. Yn awr, efallai y carech ddweyd rhywbeth wrth eich gilydd, heb i'm clustiau i glywed.

*Tucker :* Dim yn y byd, gallaf eich sicrhau.

*Lincoln :* Af i ddweyd wrth Mrs. Lincoln. Esgusodwch fi am lai na munud.

*Yn mynd.*

*Tucker :* Wel, gallasem fod wedi dewis glanach dyn ; ond y mae yn amheus gennyf a allasem fod wedi dewis ei well.

*Hind :* Gwnaethai farnwr iawn, ond i chwi beidio bod yn erbyn.

*Price :* Dweyd a wnawn wrth y mwyafrif o ddynion ; gofyn a wnawn i hwn.

*Tucker :* Nid yw wedi rhoddi ei ateb y naill ffordd na'r llall eto. Paham y darfu iddo ein gadael fel yna, fel pe byddai yr hyn sy'n eglur heb fod yn eglur ?

*Hind :* Efallai fod arno eisiau meddwl ar ei ben ei hun yn gyntaf.

*Macintosh :* Na nid hynny oedd. Ond yr oedd ef yn iawn. Y mae Abraham Lincoln yn gweld yn ddyfnach i galonnau dynion na'r mwyafrif. Gŵyr y bydd y dydd hwn ar gof gennym am ein hoes. Pa un ohonoch, dan ei lygad ef, allai draethu meddwl anffafriol, a gychwynodd yn ei erbyn, wedi dyfod i'r ystafell hon ? Ond drwy eich gadael, gwyddai y gallech brofi eich hunain gyda rhwyddineb, a siarad dros y peth, ac os cewch eich hunain heb amheuaeth, fod yn fwy hapus eich meddwl ar ol hynny. A oes amheuaeth yn eich mysg ?

*Tucker :*
*Hind :* } Nac oes ddim.
*Price :*

*Macintosh :* Yna, Mr. Tucker, gofynwch iddo eto pa ddaw yn ei ol.

*Tucker :* Mi wnaf.

*Eisteddant mewn tawelwch am foment, a daw Lincoln i mewn eto, ac yn ol i'w le wrth y bwrdd.*

*Lincoln :* Ni fynnwn i chwi feddwl mai anrasol ynof yw bod mor araf yn rhoi fy ateb. Ond unwaith y rhoddaf ef, y mae i fod er da mawr, neu er drwg mawr, i'r holl wlad hon. Yn wyneb hyn yna, gall dyn yn hawdd holi ugain gwaith, hyd yn oed pan wedi ei sicrhau ugain o weithiau drosodd. Ai nid oes gennych delerau, unrhyw un ohonoch ?

*Tucker :* Dim. Y mae'r gwahoddiad megis y rhoddais ef pan eisteddasom i lawr. Ac ni ddymunwn ychwanegu ein bod ni, bawb ohonom, yn falch o'i roddi i ddyn ag y teimlwn nad oes neb yn fwy cymwys i'w dderbyn.

*Lincoln :* Diolch, yr wyf yn derbyn.

*Cyfyd, a'r lleill gydag ef, aiff at y drws, a geilw* SUSAN. *Distawrwydd,* SUSAN *yn dyfod.*

*Susan :* Ie, Mr. Lincoln.

*Lincoln :* Cymrwch y boneddigion hyn at Mrs. Lincoln. Mi a'ch canlynaf yn y fan.

*Y pedwar yn mynd gyda* SUSAN. LINCOLN *yn sefyll yn dawel am eiliad. Yn mynd at y map eto ac yn edrych arno. Yna try at y bwrdd eilwaith, penlinia yn ei ymyl, yn hunanfeddiannol a phwyllog gan gladdu ei wyneb yn ei ddwylo.*

Y LLEN YN DISGYN.

*Y Ddau Groniclydd :*

Unig yw y dyn o feddwl clir,
Unig weledigaeth iddo bair
Gefnu ar borfaog dir—
Ystodau yd, a llwythi trwm o wair,
I ymyl mynydd mawr,
I feddwl ar yr uchaf fannau,
Lle try ei anturiaethau
Ymysg hauwyr a gwrteithwyr, yn eu hawr,

Ddyffrynoedd yn doddedig brofiad,
Yr hwn pan ddaw
Wna'i enaid yn ddi fraw,
A rydd i'w law
Nerth a hunan lywodraethiad.

*Y Croniclydd Cyntaf :*

Y dyn o ddeall clir
Gaiff brofi chwerwder, can's ei hil
O gythryblus feddwl cul
Nis gwelant fel y gwel efe :
    Ac fe rydd
Gyngor doeth, na wrendy neb,
A chadarn saif, er methiant, yn ei ffydd,
    Ac er mor gre'
    Ei brofedigaeth fydd.

*Yr ail Groniclydd :*

Gan chwennych 'chydig, cyflym gynnydd,
    A sicrwydd byrr,
    A chlod mewn llyfn iaith,
Llawer a wawdiant weledigaeth ei ymenydd,
Yn codi cof-arwyddion tal a phell,
A llawer redant lawr ei waith
    A'i gais am elw gwell.

*Y Croniclydd cyntaf :*

    Blwyddyn heibio â.

*Y ddau ynghyd :*

    Yma cawn
Galon ddewr feddianna'i hun,
Yng nghanol gwyllion ffawd yn llawn
Mewn gweledigaeth—unig un.

## GOLYGFA II.

*Flwyddyn yn ddiweddarach. Yn ystafell Seward, yn Washington.* WILLIAM SEWARD, *ysgrifennydd y Dalaith, yn eistedd wrth y bwrdd, gyda* JOHNSON WHITE *a* CALEB JENNINGS *yn cynrychioli dirprwywyr y Taleithiau Cyngreiriol.*

*White :* Y teimlad cyffredin yn y De, Mr. Seward, yw mai chwi yw yr unig ddyn yn Washington sydd yn meddu ar amgyffrediad digon eang i weled drwy y mater hwn. Dywedaf hyn heb daflu dim diystyrwch ar yr Arlywydd.

*Seward :* 'Rwy'n gwerthfawrogi eich caredigrwydd, Mr. White. Ond Undeb yw Undeb, ac ni ellwch fynd dros ben hynyna. Yr ydym wyneb yn wyneb â ffaith glir. Y mae chwech o'r Taleithiau Deheuol eisoes wedi cyhoeddi eu hunain yn bleidiol i Enciliad. Y mae'r Arlywydd yn teimlo, a gallaf ddywedyd fy mod i a'm cydswyddogion gydag ef, y byddai torri i fyny y wlad felly yn golygu cwymp America.

*Jennings :* Ond gellid gwneuthur popeth trwy gyfaddawd, Mr. Seward. Galwer yn ol y gwarchodlu o Fortsumter, ac fe gyfarwyddir Beauregard i beidio myned gam ymhellach : fe fodlonir De Carolina drwy gydnabod ei hawdurdod, ac, mor debyg a pheidio, fe fydd yn fodlon i roddi arweiniad i'r taleithiau eraill i adystyried enciliad.

*Seward :* Yn sicr, y mae hynyna yn ymddangos yn ddeniadol iawn, ac, mi gredaf, y mae yn gynnyg tyner iawn.

*White :* Trwy ei gefnogi, fe ellwch chwi fod yn waredwr y wlad oddiwrth ryfel cartrefol, Mr. Seward.

*Seward :* Darfu i'r Arlywydd bwysleisio ei benderfyniad i ddal gafael yn Fortsumter yn ei araith agoriadol. Anodd fydd ei berswadio i fynd yn ol at honno. Y mae efe yn gadarn yn ei benderfyniadau.

*White :* Y mae yna bobl i'w cael a'i galwant ef yn gyndyn. Yn sicr, pe y gosodid y peth o'i flaen yn ddeheuig y gallai cwrs mor syml ragflaenu trychineb heb ei gyfryw, nid oes ddyn a safai ar ei urddas i'r fath raddau, fel ag i beidio rhoi i fyny. Yr wyf yn siarad yn blaen, ond y mae yn amser i siarad yn blaen. Yn ddiamheuol y mae

Mr. Lincoln yn ddyn o ansoddau neilltuol; y ddau dro y bûm yn siarad ag ef, gwnaeth argraff nid bychan arnaf. Mae hynny yn wir, Mr. Jennings?

*Jennings:* Yn sicr felly.

*White:* Ond beth yw ei brofiad ef yng ngorchwylion pwysig y wladwriaeth yn ymyl yr eiddoch chwi, Mr. Seward? Rhaid ei fod yn gwybod gymaint y mae yn ymddibynnu ar aelodau ei Gyfrin Gyngor, gallwn ddywedyd un aelod, am gyfarwyddid.

*Seward:* Mae'n rhaid inni symud yn ochelgar.

*Jennings:* Yn naturiol. Y mae dyn yn ddiamheuol yn fyw iawn ei deimlad ar ei brofiad cyntaf mewn swydd.

*Seward:* Y mae fy nghefnogaeth i'r Arlywydd, wrth gwrs, yn ddiamheuol.

*White:* Yn hollol felly. Ond pa fodd y gall eich cefnogaeth fod yn fwy gwerthfawr na thrwy roddi iddo fenthyg eich gwybodaeth ddigyffelyb.

*Seward:* Y mae yr holl fater wedi ei sefydlu yn ei feddwl ef yng ngoleuni pwnc caethwasiaeth.

*Jennings:* Dangoswch iddo gamsyniad ei feddwl; a chaethwasiaeth a baid a bod. Perswadiwch ef i alw'r fyddin yn ol o Fortsumter, a gellir penderfynu caethwasiaeth o amgylch y bwrdd. Chwi a wyddoch fod cryn gefnogaeth hyd yn oed i Ddiddymiad yn y De ei hun. Os caniateir y fasnach mewn rhai dosbarthiadau, beth yw hynny o'i gymharu a'r alanas o ryfel cartrefol?

*White:* Ni chredwn fod y Taleithiau Deheuol, gydag unrhyw frwdfrydedd, yn chwennych ymneilltuo. Yn unig y maent yn dymuno profi eu hawl i wneuthur hynny. Cydnabydder hyn drwy waghau Fortsumter, ac ni ddigwydd dim ond goddefiad yr hwn sydd yn gweddu yn berffaith i annibyniaeth ysbryd, ac heb fod yn annheyrngarol i Undeb yn y galon.

*Seward:* Yr ydych yn deall, wrth gwrs, na allaf ddweyd dim yn swyddogol.

*Jennings:* Nid yw y rhai hyn ond awgrymiadau answyddogol.

*Seward:* Gallaf ddweyd nad wyf heb fod mewn cydymdeimlad,

*White :* Yr oeddym yn sicr mai felly y byddai.
*Seward :* Ac nid yw fy ngair heb ddylanwad.
*Jennings :* Gellir ei ddefnyddio i ddwyn i chwi anrhydedd mawr, Mr. Seward.
*Seward :* Yn y cyfamser, na ddywedwch ddim am ein cyfarfyddiad hwn, ymhellach na rhoddi adroddiad, yr hwn a ddylai fod yn gyfrinachol.
*White :* Gellwch ymddibynnu arnom.
*Seward* (*yn codi gyda'r lleill*) : Felly, dymunaf i chwi fore da.
*White :* Gwerthfawrogwn yn fawr y dymer ardderchog yn yr hon y credwn y bydd i chwi ddwyn ymlaen yr achos difrifol hwn. Bore da, Mr. Seward.
*Jennings :* Ac yr wyf ———

*Curo ar y drws.*

*Seward :* Ie, dewch i mewn.

YSGRIFWAS *yn dyfod i mewn.*

*Ysgrifwas :* Mae'r Arlywydd yn dyfod i fyny'r grisiau, syr.
*Seward :* Diolch i chwi.

*Yr* YSGRIFWAS *yn mynd.*

Mae hyn yn anffodus. Peidiwch dweyd dim, ac ewch ar unwaith.

*Lincoln yn dyfod i mewn, yn awr yn wr barfog.*

*Lincoln :* Bore da, Mr. Seward ; bore da, foneddigion.
*Seward :* Bore da, Mr. Arlywydd. Yr wyf yn ddiolchgar ichwi, foneddigion, am alw. Bore da.

*Yn symud at y drws.*

*Lincoln :* Efallai y gall y boneddigion hyn hebgor deng munud i mi.
*White :* Gallai nad ——
*Lincoln :* Dywedwch bum munud.
*Jennings :* Dichon y gallai ——
*Lincoln :* Yr wyf yn awyddus bob amser am egwyl i newid syniadau gyda'n cyfeillion o'r De. Gellir cael goleuni lawer mewn pum munud. Eisteddwch, 'rwy'n deisyf arnoch, os gwnaiff Mr. Seward ganiatau inni.
*Seward :* Ar bob cyfrif. A gaf fi ymneilltuo ?

*Lincoln :* Ymneilltuo ; ond paham ? Efallai y bydd arnaf eisiau eich help, Mr. Ysgrifennydd, os na allwn gwbl gytuno. Eisteddwch i lawr, foneddigion.

SEWARD *yn rhoddi cadair i* LINCOLN : *yn eistedd wrth y bwrdd.*

*Lincoln :* Y mae gennych genadwri atom ?

*White :* Wel na, prin y gallwn ddweyd hynny.

*Lincoln :* Dim cenadwri ? Efallai fy mod yn rhy chwilfrydig.

*Seward :* Y mae'r boneddigion yn awyddus i wneud prawf ar ddylanwadau sydd a'u tuedd i gymedroli.

*Lincoln :* 'Rwy'n gobeithio eu bod yn dwyn gyda hwynt ddylanwadau sydd a'u tuedd i gymedroli. Cewch fi yn wrandawr parod, foneddigion.

*Jennings :* Y mae yn fater llednais, Mr. Lincoln. Nid yw ein hymweliad ond answyddogol.

*Lincoln :* Yn hollol felly. Ond chollwn ni ddim trwy wybod meddyliau ein gilydd.

*White :* A gawn ni hysbysu'r Arlywydd pa beth y deuthom i'w ddweyd, Mr. Seward ?

*Lincoln :* Byddaf fi yn ddiolchgar. Os methaf ddeall, yn sicr fe wnaiff Mr. Seward fy ngoleuo.

*Jennings :* Prin yr oeddym yn meddwl ei bod yn werth eich trafferthu chwi ar awr mor gynnar.

*Lincoln :* Awr mor gynnar ar beth ?

*Jennings :* 'Rwy'n meddwl ——

*Seward :* Mae'r boneddigion hyn, yn wyneb yr awydd cyffredinol am heddwch, yn unig yn ceisio y ffordd oreu, drwy yr hon y gellir gwneud awgrymiadau.

*Lincoln :* I bwy ?

*Seward :* I'r Llywodraeth.

*Lincoln :* Y mae pen y Llywodraeth yma.

*White :* Ond——

*Lincoln :* Deuwch, foneddigion. Pa beth sy'n bod ?

*Jennings :* Yr achos yw ynghylch Fortsumter, Mr. Arlywydd. Os bydd i chwi alw yn ol eich byddin o Fortsumter, ni edrychir ar y peth fel gwendid ynoch chwi, ond edrychir arno fel rhoddiad i fyny yn ffafr braint naturiol. Credwn nad yw'r De ddim o galon yn chwennych ym-

wahaniad. Chwennych y mae yr hawl i benderfynu drosti ei hun.

*Lincoln :* Y mae'r De yn chwennych rhoi nod o gymeradwyaeth genedlaethol ar Gaethwasiaeth. Ni all ei gael.

*White :* Yn sicr, nid dyna'r pwynt. Nid oes cyfraith yn y De yn erbyn Caethwasiaeth.

*Lincoln :* Opiniynau sydd yn rhoi bod i gyfreithiau. Ac y mae'r De yn gwybod hynny.

*Jennings :* Mr. Arlywydd, os caf ddweyd felly, nid ydych yn deall yn gywir.

*Lincoln :* A yw Mr. Seward yn deall ?

*White :* 'Rwy'n credu ei fod.

*Lincoln :* Yr ydych yn cyfeiliorni. Nid yw efe yn deall, oherwydd nid oeddych yn meddwl iddo ddeall. Nid wyf yn eich beio. Yr ydych chwi yn meddwl eich bod yn gwneud yr hyn sydd oreu. Yr ydych yn credu fod gennych achos gonest. Ond mi a osodaf eich achos o'ch blaen, a gosodaf ef yn noeth. Y mae llawer o bobl yn y wlad hon ag arnynt eisiau diddymiad, a llawer fel arall. Ni ddywedaf ddim, am y foment, am ei dda na'i ddrwg. Ond y mae pob dyn, pa un bynnag a yw yn ei chwennych ai peidio, yn gwybod y gall ddyfod. Paham y mae ar y De eisiau encilio ? Oherwydd eu bod yn gwybod y gall diddymiad ddyfod, ac y mae arnynt eisiau ei ysgoi. Y mae arnynt eisiau ychwaneg—y mae arnynt eisiau yr hawl i ehangu sail caethwasiaeth. Yr ydym oll wedi bod ar fai gyda golwg ar gaethwasiaeth ; ond yr ydym ni yn y Gogledd wedi bodloni i wella ein ffyrdd. Nid ydych chwi. Felly ar encilio mae eich bryd, a gwneuthur eich cyfreithiau eich hunain. Ond nid oeddych yn barod i wrthwynebu : nid oes arnoch eisiau gwrthwynebiad. Gobeithio yr ydych, os gellwch hwylio drwy yr argyfwng cyntaf hwn, a gwneud inni roddi ffordd, y gwnaiff barn ein rhwystro i wrthwynebu gyda nerth rhagllaw, ac y byddwch yn alluog i gael eich ffordd eich hunain gyda golwg ar fater caethwasiaeth trwy fygythion. Dyna eich achos chwi. Ni ddywedasoch felly wrth Mr. Seward, ond dyna fe. Yn awr mi roddaf i chwi fy ateb. Foneddigion, nid gwiw ceisio cuddio'r peth hwn mewn congl. Mae'n

rhaid ei benderfynu. Mi a ddywedais y dydd o'r blaen y daliem ein gafael yn Fortsumter, cyhyd ag y gallom ei dal. Dywedais hyn, oblegid gwn yn hollol beth mae'n olygu. Paham yr ydych yn gwarchae arni ? Dywedwch, os mynnwch, mai er mwyn sefydlu yr hawl i encilio, ond heb fwriad yn y byd i osod hynny mewn gweithrediad. Paham y mae arnoch eisiau sefydlu yr hawl yna ? Oherwydd na wnawn yn awr ganiatau ehangiad caethwasiaeth, ac oherwydd y gallwn, ryw diwrnod ei ddiddymu. Ni ellwch ei wadu, nid oes unrhyw ateb arall.

*Jennings :* Gwelaf pa fodd y mae. Gellwch wthio rhyddid faint fyd a fynnoch ; ond rhaid inni fod ar ein gwyliadwriaeth rhag gwthio caethwasiaeth.

*Lincoln :* Ni ellid ei osod yn well, Mr. Jennings. Dyna yr hyn a olygir wrth yr Undeb. Undeb ydyw sydd yn sefyll dros hawl gyffredinol. Dyna yw ei sylfaen—dyna paham y mae yn ddyletswydd ar bob dyn gonest i'w ddiogelu. Byddwch yn glir ar y pen hwn. Os bydd rhyfel, nid ar bwnc caethwasiaeth y bydd. Os bydd y De yn deyrngarol i'r Undeb, gall ymladd deddfwriaeth caethwasiaeth drwy foddion cyfansoddiadol, ac ennill ei ffordd, os gall. Os y saif dros ei hawl i encilio, yna bydd cadw'r wlad rhag rhwyg, sef amddiffyn yr hawl honno, i'r hon y gwnaeth pob talaith ymrwymo pan enillwyd yr Undeb inni gan ein tadau, gall mai rhyfel fydd yr unig ffordd. Ni thorrwn ni yr Undeb i fyny, ac ni chewch chwithau wneuthur hynny. Yn eich dwylo chwi, ac nid yn fy eiddo i, y gorffwys mater mor bwysig a Rhyfel Cartrefol. Ni ellwch ddyfod i wrthdarawiad heb i chwi eich hunain ddechreu. 'Rwy'n hwyrfrydig i orffen. Nid gelynion ydym, ond cyfeillion. Rhaid inni beidio bod yn elynion. Er fod teimlad wedi ei ddolurio, peidiwch caniatau iddo dorri rhwymau anwyldeb. Dyna ein hateb ni. Dywedwch hynyna wrthynt. A wnewch chwi ddweyd hynyna wrthynt ?

*White :* Yr ydych yn benderfynol ?

*Lincoln :* Dymunaf arnoch ddweyd wrthynt.

*Jennings :* Gwneir fel yr ydych yn dewis.

*Lincoln :* Taer ddeisyfwch arnynt i alw Beauregard yn ol. Gellwch bellebru yn awr oddi yma. A wnewch chwi hynny ?

*White :* Os ydych chwi yn dewis hynny.

*Lincoln :* Ydwyf, o ddifrif. Mr. Seward, a welwch chwi yn dda i osod ysgrifwas at eu gwasanaeth ? Gofynwch am ateb.

*Seward yn canu'r gloch. Ysgrifwas yn dyfod i mewn.*

*Seward :* Rhoddwch i'r boneddigion hyn wifren gyfrinachol ; a gosodwch eich hun at eu gwasanaeth.

*Ysgrifwas :* O'r goreu, syr.

WHITE *a* JENNINGS *yn mynd allan gyda'r ysgrifwas.* LINCOLN *a* SEWARD, *am eiliad yn fud.* LINCOLN *yn cerdded yr ystafell.* SEWARD *yn sefyll wrth y bwrdd.*

*Lincoln :* Seward, wnaiff hyn ddim mo'r tro.

*Seward :* Nid ydych yn drwgdybio ——

*Lincoln :* Nac ydwyf. Ond gadewch inni fod yn blaen. Pa mor ddoeth, nid oes ddyn all ddweyd, ond y mae Rhagluniaeth wedi gosod arweinyddiaeth y wlad hon yn fy llaw i, gyda gwaith mwy o'm blaen, nag a orffwysai ar Washington hyd yn oed. Pan ffurfiais fy Ngweinyddiaeth, y chwi oedd y cyntaf ddyn a ddewisais. Nid yw yn edifar gennyf hynny, ac ni byddaf edifar, 'rwy'n credu. Ond cofiwch, ffydd sydd yn ennill ffydd. Pa beth sy'n bod ? Paham na ddaeth y dynion yna i'm gweled i ?

*Seward :* Meddwl yr oeddynt y gallai fy ngair i gario mwy o ddylanwad gyda chwi na'u geiriau hwy.

*Lincoln :* Eich gair chwi am beth ?

*Seward :* Am arfer doethineb ynglŷn â Fortsumter.

*Lincoln :* Arfer doethineb ?

*Seward :* Y syniad o ryfel, y fath ddifrod yw.

*Lincoln :* Felly y mae. A ydych chwi yn tybied fy mod i yn llai byw i'r peth nag ydych chwi ? Dylai rhyfel fod yn amhosibl. Ond ni ellir ei wneud yn amhosibl ond trwy ddifodi yr achosion ohono. Oni wyddoch na fyddai galw yn ol o Fortsumter yn gwneud dim o'r fath beth ? Pe byddai i hanner y wlad honni ei hawl i

anwybyddu yr Undeb, fe fyddai yr honiad, yng ngolwg pob gwir warcheidwad yn ein mysg yn achos o ryfel, heb inni wneud yr Undeb yn rhywbeth twyllodrus, yn lle bod yn gydsyniad cyhoeddus i egwyddorion bywyd teilwng, fel y mae. Pe baem yn galw yn ol o Fortsumter ni fyddem yn gwneud dim i ddifodi yr achos. Ni ellir ei ddifodi ond trwy argyhoeddi'r bobl fod enciliad yn fradychiad ar eu hymddiried. Gobeithio ar Dduw y gallwn wneud hynny.

*Seward :* Tybed nad oes, efallai, fesur o ofn wedi bod i wneud hyn oll yn glir i'r wlad ?

*Lincoln :* Ofn ? Ac yr oeddych yn sôn am arfer doethineb ?

*Seward :* Meddwl yr oeddwn, efallai, nad oedd ein polisi ddim wedi cael ei wneud yn ddigon eglur.

*Lincoln :* Ai ni ddarfu i chwi gytuno â ni yn ein holl benderfyniadau ? Na thwyllwch eich hun. Yr ydych yn fy annog, ar un anadl, i arfer doethineb, ac yn fy nghyhuddo o ofn, yn y nesaf. Tra yr oedd gobaith y gallasent hwy alw Beauregard yn ol o'u synnwyr da eu hunain, yr oeddwn i yn benderfynol i beidio dweyd dim i'w cynhyrfu. A ydych chwi yn galw hynyna yn ofn ? Yn awr, y mae eu bwriad yn glir, ac yr ydych chwithau hefyd wedi fy nghlywed yn siarad yn glir y bore hwn. Ac erbyn hyn yr ydych yn sôn am arfer doethineb, y chwi, sydd yn galw yr hyn oedd yn ddoethineb yn yr amser priodol yn ofn, ydych yn cynghori ofn yn yr amser amhriodol, ac yn ei alw yn ddoethineb. Seward, gellwch chwi fy nghyfrif i yn symlyn, ond yr wyf yn gallu gweled eich meddwl yn gweithio yn llawn mor glir a phe yn edrych ar olwynion yr awrlais. Fe ellwch chwi ddwyn talent fawr i'r llywodraeth, gyda'ch sêl, a'ch profiad gweinyddol, a'ch cariad at ddynion. Peidiwch ei handwyo trwy feddwl mai ymenydd penbwl sydd gennyf fi.

*Seward* (*yn araf*) : Ie, mi welaf. Nid wyf wedi bod yn meddwl yn glir ynghylch y mater o gwbl.

*Lincoln* (*yn cymryd papur o'i logell*) : Dyma'r papur a anfonasoch i mi : " Rhai Meddyliau at ystyriaeth yr Arlywydd. Prydain Fawr . . . Rwsia . . . Mexico . . .

polisi. Naill ai y mae yn rhaid i'r Arlywydd reoli y peth hwn, neu osod y gorchwyl ar ryw aelod o'i Gyfrin Gyngor. Nid yw yn perthyn i'm swydd briodol i. Ond nid wyf yn dewis ysgoi, na chymryd y cyfrifoldeb."

*Saib. Y ddau ddyn yn edrych ar ei gilydd heb siarad.* LINCOLN *yn rhoddi'r papur i* SEWARD, *yr hwn sy'n ei ddal am foment, yn ei dorri i fyny, ac yn ei daflu i'r tân.*

*Seward :* 'Rwy'n gofyn eich maddeuant.

*Lincoln* (*gan gymryd ei law*) *:* Mae hynyna yn fawrfrydig ynoch.

MR. SLANEY, *Ysgrifennydd, yn dyfod i mewn.*

*Slaney :* Cennad oddiwrth yr Uchgapten Anderson, syr. Y mae wedi marchogaeth yn syth o Fortsumter.

*Lincoln :* Cymrwch ef i fy ystafell i. Na, dygwch ef yma.

SLANEY *yn mynd.*

*Seward :* Beth mae hyn yn olygu ?

*Lincoln :* Nid wyf yn hoffi ei sŵn.

*Yn canu'r gloch.* YSGRIFWAS *yn dyfod i mewn.*

A oes rhai o'r boneddigion, aelodau o'r Cyfrin Gyngor yn y tŷ ?

*Ysgrifwas :* Mr. Chase a Mr. Blair, 'rwy'n credu, syr.

*Lincoln :* Fy llongyfarchiadau iddynt. Dywedwch wrthynt am fod yn barod i'm gweled i yma ar unwaith, os bydd galw. Anfonwch yr un genadwri i unrhyw weinidogion eraill y gellwch gael o hyd iddynt.

*Ysgrifwas :* Gwnaf, syr.

*Efe'n mynd.*

*Lincoln :* Gall y bydd yn rhaid inni benderfynu yn awr —yn awr ?

SLANEY *yn dangos y* GENNAD, *yn chwŷs ac yn llwch, i mewn, ac yn ymneilltuo.*

*Lincoln :* Oddiwrth yr Uchgapten Anderson ?

*Y Gennad :* Ie, syr ; gair o'i enau, syr.

*Lincoln :* Eich cred-lythyrau.

*Y Gennad* (*yn rhoddi papur i* LINCOLN) : Dyma nhw, syr.

*Lincoln* (*yn sylwi ar y papur*) *:* Wel ?

*Y Gennad :* Y mae'r Uchgapten Anderson yn cyflwyno ei ddyletswydd i'r Llywodraeth. Gall ef ddal y Fort am dri diwrnod yn ychwaneg heb fwyd ac adgyfnerthion.

LINCOLN *yn canu'r gloch, ac yn aros nes y daw* YSGRIFWAS *arall i mewn.*

*Lincoln :* Gwelwch a yw Mr. White a Mr. Jennings wedi cael rhyw ateb eto. Mr. —— beth yw ei enw ?

*Seward :* Hawkins.

*Lincoln :* Mae Mr. Hawkins yn gweini arnynt hwy. A gofynnwch i Mr. Slaney ddyfod yma.

*Ysgrifwas :* O'r goreu, syr.

*Efe'n mynd,* LINCOLN *yn eistedd wrth y bwrdd, ac yn ysgrifennu.* SLANEY *yn dyfod i mewn.*

*Lincoln (yn ysgrifennu) :* Mr. Slaney, a wyddoch chwi pa le y mae'r Cadfridog Scott ?

*Slaney :* Yn y pencadlys, 'rwy'n meddwl, syr.

*Lincoln :* Ewch a hwn iddo eich hun, a dygwch ateb yn ol.

*Slaney :* O'r goreu, syr.

*Cymer y llythyr, ac ymaith ag ef.*

*Lincoln :* A yw pethau yn ddrwg iawn yn y Gaer ?

*Y Gennad :* Yr Uchgapten a ddywed dri diwrnod, syr. Buasai y rhan fwyaf ohonom ni yn dywedyd pedair awr ar hugain.

*Curo ar y drws.*

*Seward :* Ie.

*Hawkins yn dyfod i mewn.*

*Hawkins :* Mae Mr. White yn yr act o dderbyn cenadwri dros y gwifrau, syr.

*Lincoln :* Gofynnwch iddo ddyfod ar unwaith wedi iddo orffen.

*Hawkins :* O'r goreu, syr.

*Efe'n mynd.* LINCOLN *yn mynd at ddrws yn y pellter, ac yn ei agor. Yn siarad â'r* GENNAD.

*Lincoln :* A wnewch chwi aros yma ?

Y GENNAD *yn mynd drwodd.*

*Seward :* A fyddai wahaniaeth gennych i mi ysmocio ?

*Lincoln :* Dim o gwbl, dim o gwbl.

SEWARD *yn tanio myglysen.*

Tri diwrnod. Os na wnaiff cenadwri White ein cynorthwyo—tri diwrnod!

*Seward:* Ond yn sicr, mae'n rhaid inni alw'r fyddin yn ol yn awr, fel mater o angenrheidrwydd milwrol.

*Lincoln:* Paham na ddaw White?

SEWARD *yn mynd i'r ffenestr, ac yn ei chodi. Yn sefyll gan edrych i lawr i'r heol.* LINCOLN *yn sefyll wrth y bwrdd, gan gadw ei olwg yn sefydlog ar y drws. Wedi eiliad neu ddwy, dyna guro ar y drws.*

*Lincoln:* Dowch i mewn.

HAWKINS *yn dangos* WHITE *a* JENNINGS *i mewn, ac yn mynd allan.* SEWARD *yn cau'r ffenestr.*

*Lincoln:* Wel?

*White:* Mae'n ddrwg gennyf. Ni roddant ffordd.

*Lincoln:* Chwi ddywedasoch wrthynt yr oll a erchais.

*Jennings:* Popeth.

*Lincoln:* Mae yn enbyd.

*White:* Y maent yn benderfynol.

LINCOLN *yn cerdded unwaith neu ddwy i fyny ac i lawr yr ystafell, ac yn sefyll eto yn ei le wrth y bwrdd.*

*Lincoln:* Nid ydynt yn gadael yr un agoriad.

*White:* Dim un, mae'n ddrwg gennyf ddweyd.

*Lincoln:* Mae'n benderfyniad difrifol. Ofnadwy ddifrifol. Diolch i chwi, foneddigion. Bore da.

*White a Jennings:* Bore da, foneddigion.

*Hwy yn mynd allan.*

*Lincoln:* Fy Nuw! Seward, mae'n rhaid inni wrth wroldeb mawr, a ffydd fawr.

*Cana'r gloch. Yr ail ysgrifwas yn dyfod i mewn.*

*Lincoln:* A ddarfu i chwi ddwyn fy negesau?

*Ysgrifwas:* Do, syr. Y mae Mr. Chase a Mr. Blair yma. Fe ddaw y Gweinidogion eraill yn y man.

*Lincoln:* Gofynnwch iddynt ddyfod yma ar unwaith. Ac anfonwch Mr. Slaney yma gynted ag y daw yn ol.

*Ysgrifwas:* Gwnaf, syr.

*Ef yn mynd.*

*Lincoln* (*wedi saib*): "Y mae llanw yn amgylchiadau dynion...." A ydych chwi yn darllen Shakespeare, Seward?

*Seward :* Shakespeare? Nac ydwyf.

*Lincoln :* Oh!

SALMON CHASE, *Ysgrifennydd y Trysorlys*, *a* MONTGOMERY BLAIR, *Postfeistr Cyffredinol yn dyfod i mewn.*

*Lincoln :* Bore da, Mr. Chase, Mr. Blair.

*Seward :* Bore da, foneddigion.

*Blair :* Bore da, Mr. Arlywydd. Pa fodd yr ydych chwi, Mr. Seward?

*Chase :* Bore da, Mr. Arlywydd. A oes rhywbeth pwysig?

*Lincoln :* Gadewch inni eistedd.

*Gyda eu bod yn tynnu eu cadeiriau at y bwrdd, y mae aelodau eraill y Cyfrin Gyngor*, SIMON CAMERON, CALEB SMITH, BURNET HOOK, *a* GIDEON WELLES *yn dyfod i mewn. Talant eu llongyfarchiadau i'w gilydd tra yn lleoli eu hunain wrth y bwrdd.*

*Lincoln :* Foneddigion, yr ydym yn cyfarfod mewn argyfwng, y mwyaf tyngedfawr, efallai, y bu raid i unrhyw lywodraeth yn y wlad hon wynebu arno. Gellir ei fynegi ar fyr eiriau. Y mae neges newydd gyrraedd oddiwrth Anderson. Gall efe ddal Fortsumter am dri diwrnod yn unig, os na wnawn ni anfon dynion a bwyd iddynt.

*Cameron :* Pa nifer o ddynion?

*Lincoln :* Mi gaf wybod oddiwrth Scott mewn ychydig funudau pa nifer sydd yn angenrheidiol.

*Welles :* Tybiwch nad oes gennym mo'r nifer gofynnol.

*Lincoln :* Yna, y pwnc yw anfon bwyd. Mae'n bosibl na byddwn yn alluog i wneud digon i fod yn effeithiol. Y pwnc yw a ydym yn barod i wneud yr oll sydd yn ein gallu.

*Hook :* Pe byddai inni dynnu yn ol yn llwyr, oni arweiniai hynny'r De yng nghyfeiriad cyfaddawd, fel pe byddai yn gydnabyddiaeth o'u hawdurdod, tra yn ein gadael ni yn rhydd i ddadleu angenrhaid milwrol, os bydd y syniad cyhoeddus yn beryglus.

*Lincoln :* Y mae fy meddwl yn glir. Byddai gwneud llai na'n gallu, faint bynnag yw hynny, yn sylweddol yn cydnabod hawl i enciliad. Dyna fy marn i. Os bydd ichwi ysgoi y pwnc yn awr, bydd yn rhaid ichwi ei gyfarfod yfory.

*Blair :* Yr wyf yn cytuno â'r Arlywydd.

*Hook :* Dylem oedi gweithredu gyhyd ag y gallom. Yr wyf fi yn ystyried mai ein dyletswydd yw tynnu yn ol.

*Lincoln :* Onid ydych yn gweled na fyddai tynnu yn ol yn ddim ond gohirio y rhyfel. Bydd yn rheidrwydd yn y diwedd.

*Smith :* Bydd yn rheidrwydd, os gwnawn ni wrthsefyll.

*Lincoln :* 'Rwy'n ofni mai dyna fel y bydd. Ond a bod yr achos felly, cawn fynd iddo gydag egwyddorion glân, Mr. Chase.

*Chase :* Y mae'n anodd. Ond, ar y cyfan, yr wyf o'r un farn a chwi, Mr. Arlywydd.

*Lincoln :* A chwithau Seward ?

*Seward :* Pob parch i'ch barn ; ond mae'n rhaid i mi wahaniaethu.

*Curo'r drws.*

*Lincoln :* Dowch i mewn.

SLANEY *yn dyfod i mewn, yn rhoi llythyr i* LINCOLN, *ac yn mynd.*

*Lincoln* (*yn darllen*) : Scott a ddywed ugain mil o ddynion.

*Seward :* Nid oes gennym ni ddeng mil yn barod.

*Lincoln :* Y pwnc sydd yn aros am ystyriaeth yw anfon bwyd. Yr wyf yn gorchymyn ichwi, bawb ohonoch, i ystyried y mater hwn a'ch holl ddeall. Ni allai oedi yn awr, yn fy marn i, arbed rhyfel. Dywedwn yn blaen wrth y byd, drwy sefyll at ein penderfyniad o ddal Fort-sumter hyd eithaf ein hadnoddau, a thrwy gyhoeddiad eglur fod yn rhaid diogelu yr Undeb, a bydd gennym achos glân, yn hawlio cefnogaeth syml a theyrngarol. Yr wyf yn dychrynu at y syniad o ryfel. Ond y mae gennym yn ein dwylo ymddiriedaeth gysegredig. Y mae yn cael ei bygwth. Ni fu gennym y syniad o ymosod. Ymosodwyd arnom. Methodd perswâd, ac yr wyf fi yn meddwl mai ein dyletswydd yw gwrthwynebu. Byddai cadw ad-

gyfnerthion oddiwrth Anderson yn wadu ein dyletswydd. Foneddigion, y mae'r mater ger eich bron.

*Saib.*

Dros anfon ymborth i'r Gaer?

LINCOLN, CHASE *a* BLAIR *yn codi eu dwylo.*

*Lincoln:* Dros alw yn ol ar unwaith?

SEWARD, CAMERON, SMITH, HOOK *a* WELLES *yn codi eu dwylo. Saib am ychydig eiliadau.*

*Lincoln:* Foneddigion, 'rwy'n meddwl fod yn rhaid i mi gymryd arnaf y cyfrifoldeb o fynd dros ben eich pleidlais. Arnaf fi y gorffwys bodloni y Senedd, a'r farn gyhoeddus. A raid i mi dderbyn ymddiswyddiad rhai ohonoch?

*Distawrwydd.*

*Lincoln:* Diolch ichwi, foneddigion, am eich hynawsedd. Dyna'r oll.

*Y maent yn codi, ac y mae'r Gweinidogion, gyda'r eithriad o* SEWARD *yn mynd allan, ac yn siarad wedi pasio'r drws.*

*Lincoln:* Yr ydych yn cyfeiliorni, Seward, yn cyfeiliorni.

*Seward:* Yr wyf yn eich credu. Y mae gennyf barch i'ch barn, mor bell a hynyna. Ond rhaid i mi siarad fel yr wyf yn teimlo.

*Lincoln:* A gaf fi siarad â'r dyn hwn wrtho ei hun?

*Seward:* Cewch yn sicr.

*Yn mynd allan.* LINCOLN *yn sefyll heb symud am foment. Yna symuda at fap o'r Unol Daleithiau, llawer mwy na'r un yn ei gartref yn Illinois, ac edrycha arno fel y gwnaeth yno. A at ddrws yn y pellter, ac egyr ef.*

*Lincoln:* A ddeuwch chwi i mewn?

*Y Gennad yn dyfod.*

*Lincoln:* A ellwch chwi farchogaeth yn ol at yr Uchgapten Anderson ar unwaith?

*Y Gennad:* Gallaf, syr.

*Lincoln:* Dywedwch wrtho na allwn ei adgyfnerthu ar unwaith. Nid oes gennym ddynion.

*Y Gennad:* Gwnaf, syr.

*Lincoln :* A dywedwch y bydd y nawddosgordd gyntaf o adnoddau yn gadael Washington yr hwyr yma.

*Y Gennad :* Gwnaf, syr.

*Lincoln :* Diolch.

Y GENNAD *yn mynd.* LINCOLN *yn sefyll wrth y bwrdd am eiliad. Cana'r gloch. Hawkins yn dyfod i mewn.*

*Lincoln :* Mr. Slaney, os gwelwch yn dda.

*Hawkins :* O'r goreu, syr.

*Ef yn mynd, a* SLANEY *yn dyfod i mewn eiliad yn ddiweddarach.*

*Lincoln :* Ewch at y Cadfridog Scott, a gofynwch iddo ddyfod yma ar unwaith.

*Slaney :* O'r goreu, syr.

*Ef yn mynd.*

Y LLEN YN DISGYN.

*Y Ddau Groniclydd :*

Chwychwi y rhai gasglasoch
  Yd-flodau a llysiau Mair,
Glywsoch y cyll yn gwyro lawr
  Ddiwedd haf yn siwr ;
Y brain ar edyn welsoch
  Uwch meusydd gwenith a gwair,
Cwpanau arian teg eu gwawr
  Ar ddail Lili'r Dŵr.

Chwi wyddoch am dynerwch
  Hen bobl yn dychwel fin nos—
Dychwel o drwsio'r perthi,
  Ac o aru'r tir ;
Dan grwydro chwi anwylwch
  Y gwyntoedd llym o'r rhos,
A llef aderyn hoffwch
  Dan y cangau ir.

*Y Croniclydd cyntaf :*

Chwychwi sy'n gweld yn llifo
  Y sudd ym Mlodau Mai,
A'r dyfroedd yn ymdreiglo
  I'w cyrchfa yn ddi-lai :

Chwychwi sy'n gwylio tyfiant
  Cnydau'r gwair a'r ŷd
A wyddoch na fydd palliant
  Bara yn y byd.

*Yr ail Groniclydd :*

Chwychwi sy'n dangos mwynder
  I'ch brodyr, dyn a'i gŵyr
Ac eistedd gylch yr aelwyd lân
  Yn llawn o serch,—
Chwi wyddoch daw yr amser
  I farw'n glau neu'n hwyr.

*Y ddau ynghyd :*

Geraint, beth yw synwyr mam,
  Ond goleuni rhain ?
Chwi wyddoch hyn, a pha beth mwy
  Ym mlwyddi dysg a fydd ?
Ai nid gair gwir yw hyn
  Yn goleuo'ch dydd ?
Pa fodd gall calon fod dan glwy
  Er y malais a'r ofnau sydd,
Podd anghofir y llewyrch gwyn
  Ddaw o'r mynyddoedd rhydd . . .
Gwyn fyd y rhai trugarog . . .
  Onid hoff yw swyn a bri
Y dolydd gwyrdd a'r adar mân,
  A blodau'r ha'.
Gwyn fyd y rhai trugarog . . .
  Pererinion ydym ni,
Yn rhoddi o'r Olewydd dân
  Gwybodaeth ac ewyllys da.

*Y Croniclydd cyntaf :*

Dwy flwydd o d'wyllwch, a'r dyn a dyf
Yn fwy mewn calon dyner, ac mewn penderfyniad :
Mor hyf
Yn ffordd Llywodraeth, llawn tostur yw, ddoeth
    hedd-ynad.

## GOLYGFA III.

*Yn agos i ddwy flynedd yn ddiweddarach.*

*Ystafell groeso fechan yn y Ty Gwyn.* MRS. LINCOLN, *wedi gwisgo, efallai, dipyn yn rhy ofalus, yn anobeithio fel y gwna yn awr, am weled unrhyw ras teilwraidd ar wisg ei phriod, ac yn ymwybodol i'r byw fod yn rhaid iddi hi yn unig gyfarfod â'r angenrheidrwydd hwn a berthyn i'r swydd, yn ysgrifennu. Cana'r gloch, a daw* SUSAN, *yr hon sydd wedi cymryd ei dyrchafiad yn fwy athronyddol, i fewn.*

*Mrs. Lincoln :* Gollyngwch i mewn, Susan, unrhyw un a ddichon alw. Ac ymofynwch a yw yr Arlywydd yn debyg o fod mewn i de.

*Susan :* Y mae Mr. Lincoln newydd anfon gair yn dywedyd y bydd ef i fewn.

*Mrs. Lincoln :* Da iawn.

SUSAN *yn mynd.*

Susan.

*Susan :* Ie, mam.

*Mrs. Lincoln :* Yr ydych o hyd yn dywedyd Mr. Lincoln. Chwi ddylech ddweyd Arlywydd.

*Susan :* O'r gore, mam. Ond yr ydych yn gweld, mam, mae'n anodd wedi ei alw yn Mr. Lincoln am bymtheg mlynedd.

*Mrs. Lincoln :* Ond fe ddylech gofio. Mae pawb yn ei alw yn Arlywydd yn awr.

*Susan :* O na, mam. Y mae llawer iawn o bobl yn ei alw " Y Tad Abraham " yn awr. Ac y mae rhai yn ei hoffi yn fwy na hynny. Heddiw ddiweddaf darfu i Mr. Coldpenny o'r ystor ddweyd,—" Wel, Susan, a pha fodd y mae'r hen Abi y bore hwn ?"

*Mrs. Lincoln :* 'Rwy'n gobeithio nad ydych yn eu cefnogi?

*Susan :* O nac ydwyf, mam. Yr wyf bob amser yn cyfeirio ato fel Mr. Lincoln.

*Mrs. Lincoln :* Ie, ond fe ddylech ddweyd Arlywydd.

*Susan :* Yr wyf yn ofni na allaf ddysgu byth, mam.

*Mrs. Lincoln :* Rhaid i chwi dreio.

*Susan :* Rhaid, wrth gwrs, mam.

*Mrs. Lincoln :* Dygwch i fyny unrhyw ymwelwyr.

*Susan :* Gwnaf, mam. Mae un foneddiges yn aros yn awr.

*Mrs. Lincoln :* Paham na ddywedasoch hynny ?

*Susan :* Dyna'r hyn oeddwn yn fwriadu wneud, mam, pan ddechreuasoch chwi sôn am Mr. — am yr Arlywydd, mam.

*Mrs. Lincoln :* Dangoswch hi i fyny.

SUSAN *yn mynd.* MRS. LINCOLN *yn cau ei chist ysgrifennu.* SUSAN *yn dychwelyd, gan gyfarwyddo* MRS. GOLIATH BLOW *i fewn.*

*Susan :* Mrs. Goliath Blow.

*Hi yn mynd.*

*Mrs. Blow :* Prynhawn da, Mrs. Lincoln.

*Mrs. Lincoln :* Prynhawn da, Mrs. Blow. Eisteddwch, os gwelwch yn dda.

*Yn eistedd.*

*Mrs. Blow :* A ydyw yr Arlywydd yn iach ?

*Mrs. Lincoln :* Ydyw, diolch. Y mae i raddau yn flinedig.

*Mrs. Blow :* Wrth gwrs, bid sicr. Y rhyfel ofnadwy yma. Ond yr wyf yn gobeithio nad yw efe ddim yn blino ar y rhyfel.

*Mrs. Lincoln :* Y mae yn bryder parhaus iddo. Teimla ei gyfrifoldeb yn fawr iawn.

*Mrs. Blow :* Bid siŵr. Ond mae'n rhaid i chwi beidio caniatau iddo flino ar y rhyfel. Mae'n rhaid darostwng yr anghenfilod yna yn y De.

*Mrs. Lincoln :* Nid wyf yn meddwl fod yn rhaid ichwi ofni diysgogrwydd yr Arlywydd.

*Mrs. Blow :* O na raid, wrth gwrs. Ddoe ddiweddaf, yr oeddwn yn dweyd wrth Goliath, " Ni rydd yr Arlywydd byth i fyny cyn gweld y De yn gwichian." Ac yr oedd Goliath o'r un feddwl.

SUSAN *yn dyfod i mewn.*

*Susan :* Mrs. Otherly, mam.

*Mrs. Lincoln :* Dangoswch Mrs. Otherly i fewn.

SUSAN *yn mynd.*

*Mrs. Blow :* O, y fenyw ofnadwy yna. 'Rwy'n credu fod arni hi eisiau atal y rhyfel.

*Susan* (*wrth y drws*) *:* Mrs. Otherly.

MRS. OTHERLY *yn dyfod i mewn*, SUSAN *yn mynd.*

*Mrs. Lincoln :* Prynhawn da, Mrs. Otherly. Chwi adwaenwch Mrs. Goliath Blow ?

*Mrs. Otherly :* Adwaen. Prynhawn da.

*Yn eistedd.*

*Mrs. Blow :* Y mae Goliath yn dweyd y bydd i'r rhyfel fynd yn y blaen am o leiaf dair blynedd arall.

*Mrs. Otherly :* Tair blynedd ? Byddai hynny yn ofnadwy, oni fyddai ?

*Mrs. Blow :* Rhaid i ni fod yn barod i ymaberthu.

*Mrs. Otherly :* Rhaid.

*Mrs. Blow :* Mae meddwl am y bobl acw yn peri i'm gwaed ferwi.

*Mrs. Otherly :* Yr oeddwn i yn adnabod lliaws ohonynt. Yr oedd rhai o honynt yn garedig ac yn dda iawn.

*Mrs. Blow :* Nid oedd hynyna ond eu cyfrwystra, gellwch fod yn sicr. Yr wyf yn ofni fod llawer o ddiffyg teyrngarwch yn eu mysg. A gawn ni weld yr annwyl Arlywydd y prynhawn hwn, Mrs. Lincoln ?

*Mrs. Lincoln :* Bydd yma yn y fan, 'rwy'n meddwl.

*Mrs. Blow :* Yr ydych chwi yn edrych yn rhyfeddol o dda, gyda'r holl waith caled sydd gennych i'w gyflawni. Yr wyf fi wedi gorfod rhoi fyny beth o'r eiddof fi. A chyda'r talau yn mynd i fyny, onid ydych yn meddwl ei fod yn dra darostyngol. Y mae Goliath a minnau wedi gorfod lleihau amryw o'n tanysgrifiadau. Ond, wrth gwrs, yr ydym oll yn gorfod ymwadu â rhyw bethau. O, prynhawn da, annwyl Mr. Arlywydd.

LINCOLN *yn dyfod i mewn. Y boneddigesau yn codi, ac yn ysgwyd dwylo gydag ef.*

*Lincoln :* Prynhawn da, foneddigesau.

*Mrs. Otherly :* Prynhawn da, Mr. Arlywydd.

*Oll yn eistedd.*

*Mrs. Blow :* A oes yna ryw newydd cyffrous, Mr. Arlywydd ?

*Lincoln :* Bob bore, mam, pan ddihunwyf, 'rwy'n dweyd wrthyf fy hun, " Heddyw, fe gaiff cant, neu ddau gant,

neu fil, o'n cydwladwyr eu lladd, ac y mae hyn i mi yn gyffrous."

*Mrs. Blow :* Ydyw'n siŵr, wrth gwrs. Ond meddwl yr wyf A oes rhyw newydd da ?

*Lincoln :* Oes, y mae newydd am fuddugoliaeth. Collasant hwy saith cant ar hugain o ddynion : collasom ninnau wyth cant.

*Mrs. Blow :* Mor rhagorol.

*Lincoln :* Pymtheg cant ar hugain.

*Mrs. Blow :* O, na siaradwch fel yna, Mr. Arlywydd. Wyth cant yn unig oedd yn bwysig.

*Mr. Lincoln :* Y mae'r byd yn fwy na'ch calon chwi, mam.

*Mrs. Blow :* Yn awr, y mae ein hannwyl Arlywydd yn troi yn ysmala, Mrs. Lincoln.

SUSAN *yn dwyn i fewn y noe a'r te, yn rhoddi'r te o gwmpas.* LINCOLN *ddim yn cymryd.* SUSAN *yn mynd.*

*Mrs. Otherly :* Mr. Arlywydd.

*Lincoln :* Ie, mam.

*Mrs. Otherly :* Nid wyf yn caru gormesu ar eich caredigrwydd. Gwn mor anodd yw popeth ichwi. Ond y mae'n rhaid i un ddal ar ei gyfleusterau. A gaf fi ofyn cwestiwn i chwi ?

*Lincoln :* Cewch yn sicr, mam.

*Mrs. Otherly :* Ai nid yw yn bosibl i chwi atal y rhyfel ? Yn enw gwlad sydd yn dioddef, gofynaf hynyna i chwi.

*Mrs. Blow :* 'Rwy'n sicr na ddeuai y fath gwestiwn byth i fy meddwl i.

*Lincoln :* Y mae yn gwestiwn perffaith briodol. Nid oes gennyf ond un meddwl yn wastad, mam, pa fodd y gellir atal y peth hwn ? Ond mae'n rhaid inni sicrhau cyfanrwydd yr Undeb. Mewn dwy flynedd y mae rhyfel wedi dyfod i fod i mi bob awr yn chwerwder ysbryd. Credaf fy mod yn dioddef cymaint a neb. Ond y mae'n rhaid cydymddwyn ag ef. Yr oedd yr achos yn gyfiawn ddwy flynedd yn ol. Y mae heb newid hyd yn awr.

*Mrs. Otherly :* Mi a wn eich bod yn bendefigaidd ac yn hael. Ond 'rwy'n credu fod rhyfel yn ddrwg dan bob amgylchiadau, gan nad beth fydd yr achos ohono.

*Mrs. Blow :* Credaf mai ychydig iawn o gefnogaeth a gawsai yr Arlywydd, pe y gwrandawai yn fynych ar siarad o'r fath hyn.

*Lincoln :* Yr wyf yn dymuno arnoch beidio blino eich hun, mam. Yr wyf finnau hefyd yn credu, mam, fod rhyfel yn ddrwg. Gwendid, eiddigedd, a ffolineb dynion sydd yn gwneud peth mor ddrwg yn bosibl. Ond yr ydym oll yn wan, yn eiddigeddus, ac yn ffol. Felly y mae'r byd, mam, ac ni allwn fyned o flaen y byd. Y mae rhai o'r fath waethaf ohonom yn afrywiog ac ymosodol o hyd—rhyw fôrladron carbwl a thrachwantus. Y mae rhai ohonom wedi tyfu allan o hynyna. Ond y mae ym mhawb ohonom reddf i wrthwynebu ymosodiad, lle na wrandewir ar berswad. Gellwch chwi ddweyd mai greddf ddrwg ydyw. Wn i ddim. Ond y mae yna, ac y mae yna mewn miliynnau o ddynion da. Nid wyf fi yn credu mai greddf ddrwg ydyw. Credaf fod yn rhaid i'r byd gyrraedd doethineb yn araf. Ein gorchwyl ni, sydd yn cashau ymosodiad, ydyw perswadio dynion bob amser, ac o ddifrif, yn ei erbyn ; a gobeithio, bob yn ychydig y gwrandawant arnom. Yn y cyfamser, fe ddaw eiliadau, pan wna yr ymosodwyr beri i'r reddf wrthwynebol actio. Yna rhaid i ni actio o ddifrif, a gweddïo bob amser yn ein gwroldeb na fydd i'r peth hwn ddigwydd byth mwyach. Ac yna, rhaid inni droi drachefn, a thrachefn, a thrachefn, at berswad. Camsynied byd amherffaith yw yr apêl at allu. Ond yr ydym ni yn amherffaith. Mae'n rhaid inni ymdrechu i buro'r byd ; ond y mae yn rhaid inni beidio meddwl ein hunain yn bur tu hwnt i'r byd. Pan yr oedd gennyf i benderfynu y mater hwn, peth hawdd iawn fuasai dweyd,—" Na, fynnaf fi ddim ohono, y mae yn ddrwg, ac ni chyffyrddaf ag ef." Ond ni fyddai hynny yn penderfynu dim, ac mi welais mai yr hyn a gredwn oedd yn wirionedd, fel yr wyf yn awr yn ei osod ger eich bron, mam. Truenus o beth i unrhyw ddyn yw cael y cyfrifoldeb hwn yn ei galon. Gall fy mod yn gweled ar gam, ond dyna'r ffordd yr wyf fi yn gweled.

*Mrs. Blow :* Yr wyf yn cydolygu yn hollol â chwi, Mr. Arlywydd. Mae'n rhaid i'r bwystfilod hyn yn y De

gael eu dysgu, er fy mod yn ameu a ellid dysgu dim iddynt ond trwy eu dinistrio. Dyna ddywed Goliath.

*Lincoln :* Rhaid fod Goliath erbyn hyn yn hen ddyn.

*Mrs. Blow :* Nac ydyw, yn wir, Mr. Arlywydd. Nid yw Goliath ond deunaw ar hugain.

*Lincoln :* Yn wir, yn awr ? Efallai y gallaf fi gael penodiad swyddogol iddo.

*Mrs. Blow :* O na, ni ellir hebgor Goliath. Chwi a wyddoch ei fod yn cario allan gytundebau i'r Llywodraeth. Nid yw'n bosibl i Goliath fynd. 'Rwy'n siŵr y bydd yn falch pan ddywedaf wrtho beth yw eich barn am y dynion hyn sydd eisiau atal y rhyfel, Mr. Arlywydd. Gobeithiaf fod Mrs. Otherly wedi cael ei bodloni. Bid sicr, gallwn oll achwyn. Y mae gan bawb ohonom i ymaberthu, fel y dywedais wrth Mrs. Otherly.

*Mrs. Otherly :* Diolch i chwi, Mr. Arlywydd, am yr hyn a ddywedasoch. Rhaid i mi dreio meddwl amdano. Ond yr oeddwn bob amser yn credu fod rhyfel yn anghyfiawn. Nid oeddwn am i fy machgen fynd, oherwydd fy mod yn credu ei fod yn ddrwg. Ond mynnodd fynd. Daeth hwnyna i mi yr wythnos ddiweddaf.

*Yn estyn papur i* LINCOLN.

*Lincoln* (*yn edrych arno*, *yn codi*, *ac yn ei roi yn ol*) : Y mae amserau yn bod pan na all dyn siarad. 'Rwy'n gofidio drosoch, yn gofidio drosoch.

*Mrs. Otherly* (*yn codi*) : 'Rwy'n meddwl yr âf. Nid ydych yn anfodlon am i mi siarad fel y gwneuthum.

*Lincoln :* Creaduriaid gwael ydym i gyd. Meddyliwch yn dyner ohonof. (*Cymer afael yn ei llaw*). Mari.

MRS. LINCOLN *yn mynd allan gyda* MRS. OTHERLY.

*Mrs. Blow :* Wrth gwrs, mae'n drist iddi hi, wraig dlawd. Ond y mae yn gwneud ei gofid yn waeth, drwy ei golygiadau gwyrdro, onid ydyw ? Ac yr wyf yn gobeithio na wnewch laesu dwylo nes ei gwneud yn amhosibl i'r gwrthryfelwyr cywilyddus hyn godi eu pennau byth ond hynny. Dywed Goliath y dylech gyhoeddi na roddir trugaredd i neb ohonynt ar ol hyn. Yr wyf yn sicr na fydd i mi ddim siarad mwyach ag un ohonynt.

*Yn codi.*

Wel, mae'n rhaid i mi fynd. Caf weled Mrs. Lincoln wrth fyned allan. Prynhawn da, Mr. Arlywydd.

*Mae'n troi wrth y drws, ac yn cynnyg ei llaw i* LINCOLN, *ond gwrthyd ef ei llaw.*

*Lincoln :* Prynhawn da, mam. Ac mi hoffwn roddi i chwi air o gyngor. Dywedodd y fam dlawd yna wrthyf yr hyn oedd yn feddwl. Nid wyf yn cydolygu â hi ; ond yr wyf yn ei hanrhydeddu. Nid yw yn iawn, ond y mae yn anrhydeddus. Dywedasoch chwi wrthyf yr hyn ydych yn feddwl, ac y mae arnaf gywilydd ohonoch, a phawb o'ch bath. Yr ydych chwi sydd heb aberthu dim, yn baldorddi ynghylch dinystrio'r De, tra y mae pobl eraill yn ei orchfygu. Ymgymerais i â'r rhyfel hwn gyda chalon drom, ac y mae gennyf galon sydd bron a thorri bob dydd. Ymgymerais ag ef yn enw dynoliaeth, gan ymddwyn yn gyfiawn a thrugarog, ac yn y gobaith o weled serch a chariad ar y ddaear. Ac yr ydych chwi yn dyfod ataf, gan sôn am ddial a dinystrio, am falais a chasineb parhaus. Y mae'r dynion tyner hyn yn camsynied, ond y maent yn camsynied yn lân, ac mewn enw rhagorol. Y chwi sydd yn di-anrhydeddu yr achos, dros yr hwn yr ydym yn sefyll : y chwi sydd yn ceisio ei wneud yn beth gwael, ac yn beth bach. Prynhawn da.

*Y mae yn agor y drws, ac y mae* MRS. GOLIATH *yn gweld fod geiriau yn annigonol, yn mynd.* LINCOLN *yn symud yn groes i'r ystafell, ac yn canu'r gloch. Mewn eiliad, daw* SUSAN *i fewn.*

*Lincoln :* Susan, os daw'r foneddiges yna yma eto, gall y bydd iddi gyfarfod â damwain.

*Susan :* Felly, syr. Ai dyna'r cyfan, syr ?

*Lincoln :* Na, syr. Nid dyna'r cyfan, syr. Nid wyf yn hoffi'r got yma. Yr wyf yn myned i'w nhewid. Byddaf yn ol mewn munud neu ddau ; ac os bydd i ryw un o'r enw Mr. Frederick Douglas alw, gofynwch iddo aros i fewn yma.

*Ef yn myned allan,* SUSAN *yn casglu'r cwpanau te. Ar ei gwaith yn myned i'r drws, y mae dyn du tawel, difrif ei olwg, a gwyn ei wallt, yn ei chyfarfod.* SUSAN *yn tasgu yn ddychrynedig iawn.*

*Y Dyn Du* (*yn siarad yn araf ac yn dawel iawn*) : Mae popeth yn iawn.

*Susan :* A phwy, yn enw'r nos, ellwch chwi fod ?

*Y Dyn Du :* Mista Frederick Douglas. Mista Lincoln wedi gofyn i mi ddyfod yma. Dim atal, felly wedi dwad i weld e'.

*Susan :* Ai chwi yw Mr. Frederick Douglas ?

*Douglas :* Ie.

*Susan :* Bydd Mr. Lincoln yma yn y man. Y mae wedi mynd i newid ei gôt. Gwell i chwi eistedd i lawr.

*Douglas :* 'Gore.

*Mae'n gwneud, yn edrych o'i gwmpas gyda rhyw chwilfrydedd cyffrous.*

Mista Lincoln yn byw yma ? Chwi morwyn ? Da iawn i merch ieuanc fod yn morwyn Mista Lincoln.

*Susan :* Wel, yr ydym yn dyfod ymlaen yn lled dda gyda'n gilydd.

*Douglas :* Drwg bod yn gaeth yn y De.

*Susan :* Edrychwch yma, chwi Mr. Douglas, peidiwch cymysgu fy enw i fyny gyda chaethweision.

*Douglas :* Na, chi dim caeth Chi'n morwyn, ond chi'n rhydd. Peth mawr iawn. Morwyn dlawd. Geni'n rhydd.

*Susan :* Ie, ond gwelwch yma. A ydych yn tosturio wrthyf pan yn sôn amdanaf fel morwyn dlawd ?

*Douglas :* Tosturio ? Na, meddwl chi'n fawr iawn.

*Susan :* Wel, nid wyf yn gwybod cymaint am fawredd. Ond yr wyf yn tybied eich bod yn iawn. Nid pob un sydd yn codi ac yn cyrraedd y Tŷ Gwyn.

*Douglas :* Nid yw pob un yn ddyn rhydd. Dyna pam chi'n fawr.

*Susan :* Nid wyf erioed wedi meddwl llawer am y peth.

*Douglas :* Yr wyf fi o hyd yn meddwl amdano.

*Susan :* Yr wyf yn tybied eich bod chwi yn rhydd, onid ydych ?

*Douglas :* Ydwyf. Dim geni'n rhydd. Curwyd fi pan yn fachgen bach du. Gwelais fy mam —— Ni allaf gofio beth welais.

*Susan :* Y mae'n ddrwg gennyf, Mr. Douglas. Yr oedd hynyna yn ddrwg.

*Douglas :* Oedd, drwg iawn.

*Susan :* A ydyw yr holl Nig——fy meddwl yw, a ydyw y boneddigion duon i gyd fel chwi ?

*Douglas :* Na, mae gennyf fi freintiau. Dim breintiau ganddynt hwy.

*Susan :* Nac oes : yr wyf yn tybied nad oes. Dyma Mr. Lincoln yn dyfod.

LINCOLN, *a chanddo got yn ol ewyllys ei galon, yn dyfod i'r drws.* DOUGLAS *yn codi.*

*Susan :* Dyma'r boneddwr y soniasoch amdano, syr.

*Hi yn mynd allan gyda'r llestri te.*

*Lincoln :* Mr. Douglas, da iawn gennyf eich gweled.

*Cynhygia ei law.* DOUGLAS *yn ei chymryd ac yn amcanu ei chusannu.* LINCOLN *yn ei rwystro.*

*Lincoln* (*yn eistedd*) : Eisteddwch, wnewch chwi ?

*Douglas* (*eto'n sefyll â'i het yn ei law*) : Mista Lincoln yn garedig—gofyn i mi dd'od i'w weled.

*Lincoln :* Yr oedd arnaf ofn y buasech yn gwrthod.

*Douglas :* Ofni tipyn ? Ie, ond cymaint i ofyn. Yn falch d'od.

*Lincoln :* Gwelwch yn dda eistedd i lawr.

*Douglas :* Moesgar.

*Lincoln :* Os gwelwch yn dda. Ni allaf fi eistedd, chwi welwch, os na wnewch chwi.

*Douglas :* Du, du, gwyn, gwyn.

*Lincoln :* Ffiloreg. Dim ond dau hen ddyn yn eistedd gyda'i gilydd. (DOUGLAS *yn eistedd ar amnaid* LINCOLN), ac yn siarad.

*Douglas :* Meddwl fi yn hynach na Mista Lincoln.

*Lincoln :* Ydych, 'rwy'n tybied eich bod. Pedair ar ddeg a deugain ydwyf fi.

*Douglas :* Fi'n dri ugain a deuddeg.

*Lincoln :* Gobeithio y gwnaf fi edrych mor ieuanc pan yn dri ugain a deuddeg.

*Douglas :* Dŵr oer. Llawer o gerdded. Credu yn yr Arglwydd Iesu Grist. Ychydig lysiau ddysgais pan yn llanc bach du. Treiwch Mista Lincoln. Da iawn.

*Yn rhoddi darn bach o bapur i* LINCOLN.

*Lincoln :* Yn awr, y mae hynyna yn anghyffredin o garedig ynoch. Diolch. Yr wyf wedi clywed llawer am eich pregethu, Mr. Douglas.

*Douglas :* Do ?

*Lincoln :* Mi garwn eich clywed.

*Douglas :* Mista Lincoln yn ffrind i'm pobl i.

*Lincoln :* Yr wyf o'r diwedd wedi dyfod i benderfyniad.

*Douglas :* I benderfyniad ?

*Lincoln :* Y mae caethwasiaeth yn mynd. Yr ydym wedi arfer bod yn benderfynol i gyfyngu arno. Yn awr y mae i'w ddifodi.

*Douglas :* Ydych chi yn siŵr ?

*Lincoln :* Yn siŵr.

DOUGLAS *yn codi yn araf, yn gostwng ei ben, ac yn eistedd drachefn.*

*Douglas :* Rhaid i'm pobl ddysgu llawer. Blynyddoedd, blynyddoedd, blynyddoedd. Tywyll, ofnus, drwgdybus bobl. Anodd, araf iawn (*gyda theimlad ychwanegol*). Ond geni'n ddynion rhydd. Rhydd. Geni fi yn gaeth, Mista Lincoln. Dim dyn yn deall os heb geni'n gaeth.

*Lincoln :* Oes, oes, yr wyf fi yn deall.

*Douglas* (*yn ei ddull naturiol*) : 'Rwy'n meddwl felly. Ydych.

*Lincoln :* Carwn i chwi ofyn i mi unrhyw gwestiwn a ddymunwch.

*Douglas :* Mae tipyn o achwyn. Falle ddim deall.

*Lincoln :* Dywedwch wrthyf.

*Douglas :* Milwyr y De'n cymryd dyn du'n garcharor. Dynion duon yn eich gwisgoedd swyddogol chi. Cymryd hwy'n garcharorion. Eu lladd wedyn.

*Lincoln :* Mi wn.

*Douglas :* Beth chi'n neud ?

*Lincoln :* Yr ydym wedi anfon gwrthdystiad.

*Douglas :* Dim da. Rhaid gneud rhagor.

*Lincoln :* Beth yn rhagor allwn wneud ?

*Douglas :* Chi'n gwbod.

*Lincoln :* Ydwyf. Ond peidiwch gofyn i mi dalu'r pwyth trwy atreisiad.

*Douglas* (*yn fflachiog*) : Llygad am lygad : dant am ddant.

*Lincoln :* Na, na. Rhaid i chwi feddwl. Meddyliwch beth yr ydych yn ddweyd.

*Douglas :* Fi'n meddwl am ddynion duon wedi lladd.

*Lincoln :* Nid ydych yn gofyn i mi ladd.

*Douglas :* Cospi, nid lladd.

*Lincoln :* Ie, lladd. Sut y gallaf, mewn gwaed oer, ladd dynion am yr hyn a wnaed gan eraill ? Meddyliwch beth fyddai'n canlyn. Rhaid i ni roddi esiampl fawrfrydig, ac nid dilyn un ddrwg. Yr ydych yn credu hynyna, onid ydych ?

*Douglas* (*wedi saib*) : Gwybod, ydwyf. Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion. Ymddiried yn Mista Lincoln. Gwnaf ymddiried. Fi'n camsynied. Fi'n rhy flin am y mhobl.

*Lincoln :* A wnewch chwi gofio hyn ? Am fwy na dwy flynedd, yr wyf wedi bod yn meddwl amdanoch bob dydd. Yr wyf yn flin gan feddwl. Ac ni wnaf eich anghofio. Yr wyf yn addo hynyna.

*Douglas :* Chi'n ffrind mawr a charedig. 'Rwy'n caru chi.

*Curo ar y drws.*

*Lincoln :* Ie.

SUSAN *yn dyfod i mewn.*

*Susan :* Boneddwr swyddogol. Dywed ei fod yn bwysig iawn.

*Lincoln :* Mi ddeuaf.

*Ef a* DOUGLAS *yn codi.*

Arhoswch Mr. Douglas. Y mae arnaf eisiau gofyn rhyw gwestiynau i chwi.

*Ef yn mynd allan. Mae'n nosi.* SUSAN *yn cynneu'r lamp, ac yn tynnu'r llenni dros y ffenestri.* DOUGLAS *yn sefyll wrth y drws, yn edrych ar ol* LINCOLN.

*Douglas :* Fe'n dyn da iawn.

*Susan :* Yr ydych wedi cael hynny allan, ydych chwi ?

*Douglas :* Chi'n caru fe, ferch wen.

*Susan :* Ydwyf, wrth gwrs.

*Douglas :* Ydych, rhaid i chi.

*Susan :* Mae ef yn ddyn gwyn, mewn gwirionedd. Dim tramgwydd, wrth gwrs.

*Douglas :* Dim tramgwydd. Fe'n siarad a fi—dyn du—dim gwahaniaeth.

*Susan :* Ond dywedaf i chwi beth, Mr. Douglas. Y mae yn sicr o'i ladd ei hun gyda'r rhyfel yma, mae ei galon mor garedig, fel oen newydd ei gneifio, fel y dywedir.

*Douglas :* Rhyfel difrifol iawn.

*Susan :* Ond 'rwy'n tybied ei fod yn iawn. Rhaid iddo fynd ymlaen nes dyfod i'r terfyn.

*Yn yr ystryd islaw, clywir mintai o bobl yn dynesu, dan ganu "Corff John Brown."* DOUGLAS *a* SUSAN *yn sefyll i wrando.* SUSAN *yn ymuno yn y gân wrth iddi fynd heibio a diflannu ymaith.*

Y LLEN YN DISGYN.

*Y Croniclydd cyntaf :*

Yr un yw amser, ac yn awr,
  Mor unig ydyw ffordd pob dyn,
Ac anodd talu'r ddyled fawr—
  Ffyddlondeb iddo'i hun.

*Yr ail Groniclydd :*

Fe wada un, ysgoi wna'r llall,
  Ond mynd ymlaen wna hwn,
A llywio wna heb unrhyw wall
  Y byd yn grwn.

*Y ddau ynghyd :*

Clodfori wnawn y galon hyf,
  A moli'r weledigaeth fawr,
Ac wrth addoli'r hyn sydd gryf,
  Awn ninnau'n fawr.

## Golygfa IV.

*Ynghylch yr un dyddiad. Cyfarfod o'r Cyfrin Gyngor yn Washington.* Smith *wedi mynd, ac* Edwin Stanton, *Ysgrifennydd Rhyfel, wedi cymryd lle* Cameron. *Ymhob ystyr arall, y mae'r Weinyddiaeth, yn cynnwys* Seward, Chase, Hook, Blair *a* Welles *fel o'r blaen. Maent yn trefnu eu hunain wrth y bwrdd, gan adael lle* Lincoln *yn wag.*

*Seward* (*yn dyfod i mewn*) : Yr wyf newydd dderbyn fy ngwŷs. A oes rhyw newydd neilltuol ?

*Stanton :* Oes. Mae McClellan wedi gorchfygu Lee yn Antietam. Dyna'r llwyddiant mwyaf. Ni allant adennill. Mae'r llanw'n troi.

*Blair :* A welsoch chwi yr Arlywydd ?

*Stanton :* Yr wyf newydd fod gydag ef.

*Welles :* Pa beth a ddywed ?

*Stanton :* Dywedodd yn unig " O'r diwedd." Mae'n dyfod yn y man.

*Hook :* Fe a ddwg ymlaen ei " gyhoeddiad " eto. Yn ol fy meddwl i, y mae yn hollol anamserol.

*Seward :* Wel yr ydym wedi dysgu, erbyn hyn, mae'r Arlywydd yw y dyn goreu yn ein mysg.

*Hook :* 'Rwy'n cael fod llawer iawn o deimlad yn ei erbyn ymhob man.

*Blair :* Efe yw yr unig ddyn sydd ganddo ddigon o gymeriad ar gyfer y gwaith.

*Hook :* Y mae gwahanol farnau.

*Seward :* Oes, ond nid yma, yn sicr.

*Hook :* Nid yw yn perthyn i mi ddweyd. Ond yr wyf yn gofyn i chwi, beth y mae yn feddwl am ryddhad y caethion ? Yr wyf wedi deall bob amser mai am yr Undeb yr oeddym yn ymladd, a bod diddymiad i'w gadw gennym yn ein meddwl i ddeddfu arno yn yr amser cyfaddas. Ac yn awr, y mae yn siarad un diwrnod fel pe mai rhyddhad yn unig oedd ganddo mewn golwg, a'r diwrnod nesaf fel pe taflai i fyny y syniad yn gyfangwbl, os gallai drwy hynny sicrhau heddwch gyda chadarnhad yr Undeb. Pa le yr ydym ?

*Seward :* Na, yr ydych yn camsynied. Yr Undeb yw'r peth cyntaf ganddo ; ond nid oes amheuaeth yn bod am ei olygiadau parthed caethwasiaeth. Gwyddoch hynyna yn berffaith. Ond y mae ef wedi cadw ei bolisi ynghylch caethwasiaeth yn rhydd yn ei feddwl, i'w drefnu fel y gwelai yn oreu er mwyn yr Undeb. Chwi gofiwch ei eiriau—" Pe gallwn ddiogelu yr Undeb heb ryddhau yr un caethwas, fe'i gwnawn ; a phe gallwn ei ddiogelu drwy ryddhau rhai, a gadael eraill yn llonydd, fe wnawn hynny hefyd. Fy mhrif amcan yn yr amgylchiad yw diogelu yr Undeb." Ni allai dim fod yn fwy eglur na hynyna, megis na allai dim fod yn fwy eglur na'i benderfyniad i ryddhau y caethion pan y gall wneud hynny.

*Hook :* Wel, y mae rhywrai fuasent yn actio yn wahanol.

*Blair :* Ac fe ellwch fod yn sicr na fuasent yn actio mor ddoeth.

*Stanton :* Nid wyf fi yn cytuno yn hollol â'r Arlywydd. Ond efe yw yr unig ddyn y gallwn gytuno ag ef o gwbl.

*Hook :* Bydd gwneud y cyhoeddiad yn awr, a dyna'r hyn wnaiff gynnyg, cymrwch fy ngair, yn sicr o gymysgu y meddwl cyhoeddus ar yr adeg pan y dylai gael ei gadw yn glir.

*Welles :* A ydych chwi yn sicr y gwnaiff gynnyg ei gyhoeddi yn awr ?

*Hook :* Cewch weld os na wnaiff.

*Welles :* Os gwna, mi a'i cefnogaf ef.

*Seward :* A ydyw byddin Lee wedi ei thorri i fyny ?

*Stanton :* Ddim eto ; ond y mae mewn perigl mawr.

*Hook :* Pa ham na ddaw yr Arlywydd ? Gallai un feddwl nad yw y newydd hwn yn ddim.

*Chase :* Rhaid i mi ddweyd fy mod yn awyddus i wybod beth sydd ganddo i ddweyd ar y mater.

*Ysgrifwas yn dyfod i mewn.*

*Ysgrifwas :* Llongyfarchiadau yr Arlywydd. Bydd ef yma mewn eiliad.

*Yn mynd.*

*Hook :* Rhaid i mi wrthwynebu, os try i fyny.

*Chase :* Gall na ddywed ef ddim yn ei gylch,

*Seward :* Credaf y gwna.

*Stanton :* Sut bynnag, mae'n eiliad ddifrifol.

*Blair :* Dyma fe'n dyfod.

*Lincoln yn dyfod i mewn dan gario llyfr bychan.*

*Lincoln :* Bore da, foneddigion.

*Cymer ei le.*

*Y Gweinidogion :* Bore da, Mr. Arlywydd.

*Seward :* Newyddion mawr, ni a glywn.

*Hook :* Os y gadawn i bethau gyda'r fyddin i gymryd eu cwrs am ychydig yn awr, ni a ddylem weled trwy ein anhawsterau.

*Lincoln :* Mae'n fore cynhyrfus, foneddigion Yr wyf i raddau'n gynhyrfus fy hun. Nid yw fy meddwl ar ei oreu pan mewn cynnwrf. Wnewch chwi ganiatau i mi?

*Yn agor ei lyfr.*

Gall lonyddu tipyn arnom oll. Gwaith diweddaraf Artemus Ward ydyw.

Y GWEINIDOGION, *gyda'r eithriad o* HOOK, *yr hwn ni cheisia guddio ei anfodlonrwydd, a* STANTON, *yr hwn a wnaethai yr un peth oni bai am ei anghymeradwyaeth i* HOOK, *yn gwrando gydag amynedd a difyrwch llawen, tra y mae ef yn darllen y darn a ganlyn o Artemus Ward.*

'Trosedd anfad yn Utica.'

'Yn niwedd y flwyddyn 1856, mi a ddangosais fy arddangosfa yn Utica, dinas fawr yn Nhalaith New York. Rhoddodd y bobl i mi dderbyniad caredig. Yr oedd y wasg yn canmol yn fawr. Un diwrnod, fel yr oeddwn yn rhoddi disgrifiad o'm bwystfilod a'm nadrodd, yn fy null blodeuog arferol fy hun, gymaint oedd fy nirmyg a'm diflastod wrth weled creadur mawr o ddyn esgyrnog yn cerdded i fyny at y cut oedd yn cynnwys fy lluniau cŵyr o Swper olaf yr Arglwydd, ac yn gafaelu yn Judas Iscariot gerfydd ei draed, a'i lusgo allan ar hyd y llawr. Yna dechreuodd bwyo arno mor galed ag y gallai.

'"Beth dan haul yr ydych yn ei gylch," ebwn wrtho.

'Eb efe, "Paham y dygasoch y felltith waradwyddus hon yma?" Ac fe darawodd y llun cŵyr ag ergyd dychrynllyd arall ar ei ben.

'Ebe fi, "Chwi asyn dwl, nid yw hwnyna yn ddim ond llun o gŵyr, yn gosod allan apostol twyllodrus."

'Ebe fe, "Mae hynyna yn burion i chwi ddweyd; ond yr hen ddyn, dywedaf wrthych na all Judas Iscariot ddim dangos ei hun yn Utica yn ddi gosb am lawer." A chyda'r gair, fe darawodd ben Judas yn dwll. Yr oedd y dyn ieuanc yn perthyn i un o deuluoedd blaenaf Utica. Rhoddais gyfraith arno, a dygodd y rheithwyr ddyfarniad yn ei erbyn o daniad yn y trydydd gradd."

*Stanton :* A gawn ni yn awr ystyried materion y deyrnas?

*Hook :* Cawn, ni gawn.

*Lincoln :* Dywed Mr. Hook y cawn ni.

*Stanton :* Diolch i chwi.

*Lincoln :* Na, na. Diolch i Mr. Hook.

*Seward :* Y mae McClellan yn erlyn ar ol Lee, 'rwy'n tybied.

*Lincoln :* Yr ydych chwi yn tybied cryn lawer. Ond am y tro cyntaf y mae gan McClellan y cyfle i fod yn erbyn Lee, a dyna yr arwydd gyntaf o'r diwedd. Os na wna McClellan ddal ar ei gyfle, ni a anfonwn Grant i wneud y gwaith. Golyga hynny oediad, ond dim gwahaniaeth. Y mae'r feistrolaeth wedi newid dwylo.

*Blair :* Y mae Grant yn yfed.

*Lincoln :* Rhoddwch i mi enw yr hyn mae'n yfed, ac yna mi anfonaf rai barilau i'r lleill. Y mae ef yn ennill buddugoliaethau.

*Hook :* A oes rhyw waith arall.

*Lincoln :* Oes y mae. Rai wythnosau yn ol mi a ddangosais i chwi fraslun o'r hyn a wnaethum yn cyhoeddi rhyddid i'r holl gaethion.

*Hook* (*o'r neilltu wrth* WELLES) : Mi a ddywedais wrthych.

*Lincoln :* Yr oeddych chwi yn meddwl y pryd hwnnw ei bod yn rhy gynnar i'w gyhoeddi. Yr oeddwn innau yn cytuno. Yr wyf yn meddwl fod yr amser wedi dyfod yn awr. A gaf fi ei ddarllen i chwi eto: "Boed hysbys y bydd, ar y dydd cyntaf o Ionawr, yn y flwyddyn un fil wyth cant a thri ugain a thair, pawb personau a ddelir fel caethweision, o fewn unrhyw dalaith, preswylwyr yr hon a fyddant ar y pryd mewn gwrthryfel yn erbyn yr

Unol Daleithiau, y pryd hwnnw, ac o hynny allan, a thros byth, yn rhydd." Y mae hynyna yn caniatau tri mis o'r dydd hwn. Y mae adrannau yn ymwneud ag ad-daliad i'w cael mewn cyfysgrif ar wahan.

*Hook :* Rhaid i mi wrthwynebu y fath gyhoeddiad ar y foment bresennol yn y modd mwyaf pendant. Dylai'r pwnc hwn gael ei adael hyd nes byddo ein buddugoliaeth yn gyflawn. Bydd ei wthio ar hyn o bryd yr un peth a gwahodd anghydfod, pan mae arnom fwyaf o angen undeb.

*Welles :* Nid wyf yn deall yn hollol, Mr. Arlywydd, paham yr ydych yn ystyried y foment bresennol yr un briodol.

*Lincoln :* Credwch fi, foneddigion, yr wyf wedi ystyried y mater hwn gyda phob difrifwch a dealltwriaeth sydd yn bosibl i mi.

*Hook :* Ond pan ddarfu i'r *New York Tribune* wasgu arnoch, chwe' mis yn ol, i ddyfod allan gyda chyhoeddiad clir, darfu i chwi ei geryddu.

*Lincoln :* Nid oeddwn yn meddwl fod yr achlysur yr un iawn. Ofer hollol fyddai gwneud cyhoeddiad allasai brofi mor aneffeithiol a sel-warant y pab i seren gynffonog. Fy nyletswydd, fel yr ymddangosai i mi, oedd bod yn deyrngarol i egwyddor, heb ei bradychu trwy ei gosod mewn gweithrediad yn yr amser amhriodol. Dyna yw yr hyn a ystyriaf yn wleidyddiaeth. Ers maith amser, y mae dau amcan sefydlog wedi bod gennyf,—diogelu yr Undeb, a gwneud i ffwrdd â chaethwasiaeth. Gwelwn yn glir sut i gadw yr Undeb, ac nid yw dwy flynedd ac ychwaneg o chwerwder wedi pylu fy ngwelediad. Yr ydym wedi ymladd dros yr Undeb, ac yr ydym yn awr yn ennill ar ran yr Undeb. Pa bryd, a pha fodd, i gyhoeddi diddymiad, nid wyf wedi bod yn sicr ar hyd yr amser. Nid wyf mwyach yn ansicr. Ychydig wythnosau yn ol, gwelais hynny hefyd yn glir. Dywedais wrthyf fy hun, " Cyn gynted ag y bydd y fyddin wrthryfelgar wedi ei gyrru allan o Maryland, ac y gwneir yn eglur i'r byd y bydd y fuddugoliaeth yn sicr i ni yn y diwedd, dyna yr amser i gyhoeddi mai gyda'r fuddugoliaeth yna a diogeliad yr Undeb, y daw diddymiad." Yr wyf wedi gwneud addewid i mi fy hun, ac

i'm Creawdwr. Y mae'r fyddin wrthryfelgar yn awr wedi ei gyrru allan, ac yr wyf finnau yn mynd i gyflawni fy addewid. Nid oes arnaf eisiau eich cyngor gyda golwg ar y prif fater, oblegid yr wyf fi fy hun wedi penderfynu hwnnw. Yr wyf yn dweyd hyn heb awgrymu dim ond y parch mwyaf i bob un ohonoch chwi. Ond yr wyf yn deisyf arnoch i sefyll o fy mhlaid yn y peth hwn.

*Hook :* Yn ol fy marn i, y mae'r peth yn rhy fyrbwyll ar bob cyfrif.

*Lincoln :* Y mae gennyf un sylw arall i'w wneud. Gwn yn dda iawn y gallai eraill, yn y mater hwn, fel ymhob mater arall, wneud yn well nag y gallaf fi, a phe bawn wedi fy argyhoeddi fod un ohonynt wedi meddiannu ymddiriedaeth y cyhoedd yn fwy na myfi, a phe gwyddwn am unrhyw ffordd gyfansoddiadol, trwy yr hon y gallasai gael ei osod yn fy lle, efe a'i cawsai. Mi giliwn o'r ffordd yn llawen. Ond, er na allaf hawlio fod gennyf ymddiriedaeth gyffredinol pawb, nid wyf yn gwybod, a chymryd popeth i ystyriaeth, am yr un person arall sydd yn meddu ychwaneg ; a chan nad beth am hynyna, nid oes unrhyw ffordd, trwy yr hon y gallaf osod yr un dyn arall yn fy lle. Yr wyf fi yma, a rhaid i mi wneud y goreu a allaf, a dwyn y cyfrifoldeb o gymryd y cwrs a deimlaf y dylwn ei gymryd.

*Stanton :* A allai hyn ddim cael ei adael am ychydig amser i fod dan ystyriaeth ?

*Chase :* Teimlaf fi fod yn rhaid inni gofio mai yr unig achos cyhoeddus sydd gennym am y foment yw diogelu yr Undeb.

*Hook :* 'Rwy'n cydolygu yn hollol.

*Lincoln :* Foneddigion : ni allwn ddianc sylw hanes. Cawn ni, y weinyddiaeth hon, ein cofio ar waetha'n hunain. Ni wna pwysigrwydd, na diffyg pwysigrwydd personol, arbed y naill na'r llall ohonom. Trwy roddi rhyddhad i'r caethion, byddwn yn sicrhau rhyddid i'r rhydd. Ni a gadwn yn anrhydeddus, neu ni gollwn yn druenus, y gobaith olaf a goreu ar y ddaear.

*Gesyd y cyhoeddiad o'i flaen.*

" A fydd o hynny allan, ac am byth, yn rhydd." Foneddigion, gweddiaf am eich cefnogaeth.

*Yn ei lawnodi.*

Y GWEINIDOGION *yn codi*, SEWARD, WELLES *a* BLAIR yn *ysgwyd dwylo gyda* LINCOLN, *ac yn mynd allan*. STANTON *a* CHASE *yn amneidio arno, ac yn dilyn*. HOOK, *yr olaf i godi, yn symud ymaith heb wneud yr un arwydd.*

*Lincoln :* Hook.

*Hook :* Ie, Mr. Arlywydd.

*Lincoln :* Hook, ni all un help ei fod yn clywed pethau.

*Hook :* Maddeuwch i mi.

*Lincoln :* Hook, y mae gan ryw bobl ffordd, pan ddywed dyn rywbeth anhyfryd wrthynt, o ofyn ganddo ail ddweyd y peth, yn y gobaith o'i ddrysu. Yn fynych y mae'r cynllun yn effeithiol. Ond nid yn hawdd y dyrysir fi. Dywedais na all un help ei fod yn clywed pethau.

*Hook :* Ac nid wyf yn deall beth a feddyliwch, Mr. Arlywydd.

*Lincoln :* Deuwch, Hook. Yr ydym yma ein hunain yn unig. Y mae Lincoln yn enw digon da. Ac yr wyf yn meddwl eich bod yn deall.

*Hook :* Pa fodd y gallaf ?

*Lincoln :* Yna, i fod yn eglur, y mae cynllwynion yn mynd ymlaen.

*Hook :* Yn erbyn y Llywodraeth ?

*Lincoln :* Na, ynddi, yn fy erbyn i.

*Hook :* Beirniadaeth efallai.

*Lincoln :* I ba ddiben ? I wella fy ffyrdd i ?

*Hook :* Yr wyf yn tybied mai dyna allai fod yr amcan.

*Lincoln :* Paham gan hynny na ddywedir wrthyf beth ydyw ?

*Hook :* Tybiaf mai gofid meddwl naturiol ydyw.

*Lincoln :* Neu uchelgais ?

*Hook :* Beth ydych yn feddwl ?

*Lincoln :* Yr ydych chwi yn meddwl y dylech fod yn fy lle i.

*Hook :* Yr ydych yn dra gwybodus.

*Lincoln :* Nid ydych yn gallu dychmygu paham na fuasai pob dyn yn gweld y dylasech fod yn fy lle i.

*Hook :* Pa hawl sydd gennych i ddweyd peth fel yna ?

*Lincoln :* Ai nid gwir yw ?

*Hook :* Yr ydych wedi fy nal yn amharod. Yr wyf dan anfantais.

*Lincoln :* Yr ydych yn siarad fel dyn cydwybodol iawn, Hook.

*Hook :* A ydych chwi yn ameu fy anrhydedd ?

*Lincoln :* Fel y mynnoch.

*Hook :* Yna 'rwy'n ymddiswyddo.

*Lincoln :* Fel gwrthdystiad yn erbyn . . . . ?

*Hook :* Eich drwgdybiaeth.

*Lincoln :* Y mae yn gyfeiliornus.

*Hook :* O'r goreu, i fod yn rhydd. Nid oes gennyf ymddiried yn eich barn.

*Lincoln :* Ymha beth ?

*Hook :* Yn gyffredinol. Yr ydych yn pwysleisio diddymiad yn ormodol.

*Lincoln :* Nid dyna eich meddwl. Meddwl yr ydych eich bod yn ofni fod y teimlad cyhoeddus yn erbyn diddymiad.

*Hook :* Rhaid arfer perswad, ac nid ei wthio.

*Lincoln :* Mae yr holl elfennau mwyaf teilwng ynddo wedi eu perswadio ; ond yr elfennau gwael sy'n gwneud mwyaf o sŵn, a'r rhai hynny yn unig ydych chwi yn glywed. Fe redwch chwi oddiwrth enw ofnadwy y diddymwr, pan ddefnyddir ef gan y creaduriaid diwerth, y rhai y mae gennych bob rheswm dros eu diystyrru.

*Hook :* Yn ol fy marn i, yr ydych chwi wedi methu yn y cadernid angenrheidiol i ddweyd beth fydd y gosb unigol am wrthryfel.

*Lincoln :* Rhyfel yw hwn. Ac ni allaf ganiatau iddo ddirywio i fod yn waed-gweryl.

*Hook :* Yr ydym yn ymladd yn erbyn bradwriaeth ; a rhaid i ni ei gyfarfod â llymder.

*Lincoln :* Ni a orchfygwn fradwriaeth. Ac mi gyfarfyddaf ag ef ar dir cymod.

*Hook :* Mae eich polisi yn wan.

*Lincoln :* Y mae yn bolisi ffydd, ac yn bolisi o gydymdeimlad (*yn wresog*). Hook, paham yr ydych yn fy mhoeni gyda'r eiddigeddau hyn ? Unwaith o'r blaen, mi gefais

fod aelod o'm Cyfrin Gyngor yn gweithio o'r tu cefn imi. Ond yr oedd ef yn rhydd oddiwrth hunanoldeb, ac fe wnaeth iawn yn anrhydeddus. Ond, Hook, yr ydych chwi wedi caniatau i faich y dyddiau hyn eich suro. Yr wyf yn gwybod y cwbl. Yr wyf wedi bod yn eich gwylio, yn bradfwriadu, ac yn bradfwriadu, gan geisio am awdurdod. Ac yr wyf fi, yr hwn wyf yn ddyn unig, wedi bod yn sal fy nghalon. Mor fawr yw y gwaith y mae Duw wedi roddi yn fy llaw, ac mor ychydig yw fy nyddiau, a'm hawydd dyfnaf bob amser yw ymgais am deyrngarwch yn fy nhŷ fy hun. Yr ydych chwi wedi ei gadw oddi wrthyf. Yr ydych wedi gwneud gwasanaeth mawr yn eich swydd, ond yr ydych yn eiddigeddus. Yn awr, yr ydych yn ymddiswyddo, fel y gwnaethoch unwaith o'r blaen, pan ddeuthum atoch yn galon-agored mewn cyfeillgarwch. Ac yr ydych chwi yn meddwl y gwnaf eto wenieithio i chwi, a'ch cymell i aros. Nid wyf yn meddwl y dylwn wneud hynny. Ac ni wnaf. Rhaid i mi eich cymryd ar eich gair.

*Hook :* 'Rwy'n fodlon.

*Yn troi i fynd.*

*Lincoln :* A wnewch chwi ysgwyd dwylo ?

*Hook :* Dymunaf arnoch fy esgusodi.

*Efe'n mynd.* LINCOLN *yn sefyll yn ddistaw am foment, yn gapten blin ac unig. Cana'r gloch ac ysgrifwas yn dyfod i mewn.*

*Lincoln :* Gofynwch i Mr. Slaney ddyfod i mewn.

*Ysgrifwas :* O'r goreu, syr.

*Efe'n mynd.* LINCOLN *yn tynnu allan lyfr arall o blygion ei logell, ac yn ei ddal heb ei agor.* SLANEY *yn dyfod i mewn.*

*Lincoln :* Yr wyf fi i raddau'n flinedig heddyw Slaney. Darllenwch ychydig i mi (*yn rhoddi'r llyfr iddo*). Yr Ystorm—gwyddoch yr adran.

*Slaney* (*yn darllen*) :

Mae'r loddest 'nawr ar ben, a'r cymeriadau
Mal d'wedais i, ysbrydion oeddynt oll,
A thoddi'n awyr wnant, yn ddim ond awyr :
Ac megis adail yr olygfa hon,—

Y tyrrau bannawg, a'r palasau heirdd,
Y temlau cysegredig, ie'r byd,
A'r oll sydd ynddo, a ddiflanna'n llwyr :
Ac fel di sylwedd goeglun wedi mynd,
Heb adael dim ar ol. Y fath ystwff
Breuddwydiol ydym ni, a'n bywyd bach
Gylchynnir gyda chwsg.

*Lincoln :* Y fath ystwff
Breuddwydiol ydym ni, a'n bywyd bach . . .

Y LLEN YN DISGYN.

*Y Croniclydd Cyntaf :*

Dwy flwydd yn hwy,
Ac anrhaith brwydr, ac enfawr ddadl,
Gweddïau gwŷr dan glwy',
Chwerwder, distryw, a chasineb hadl,
A ch'wilydd celwydd gyda chelwydd du
Yn gwario'u nerth, a'r meddwl mwy,
Ryw bedair blwydd yn ol a fu
Yn trefnu'r gwaith i gyd,
A ddaw gyda serch ac undeb, ac a ddwg
Farn i'r amlwg,
I wir gymodi'r byd.

*Y ddau ynghyd :*

Pa goncrwr ddaw o'r maes yn fyw,
Wedi gorchfygu ei elyn tlawd,
Nad yw ei darian yntau'n friw
I ymladd â sylweddau ffawd ?
Y frwydr enillwyd, hon mewn cadwyn rodd
Bob malais a phob dial dreng,
A phair i anffawd weld fod modd
I ddifa gelynion yn lleng.

Chwerw ydyw buddugoliaeth dyn
Na fedr weled barn y nef,
Pan yw y balch a'r isel fel yn un
O fewn y bedd heb lais na llef ;

Y dyn, dan guro, na faddeua fai,
  A gura a gwialen friw,
A hawlia fawredd i barhau
  Yn erbyn awdurdod Duw.

Y dyn, drwy ei wybodaeth faith,
  Wyneba'n erbyn t'wyllwch hyf,
A geidw ddwylo diwyd yn ei waith,
  A gynnal hefyd ysbryd cryf:
A chan orchfygu yn y drin,
  Fe'i gwneir ar air ac act yn llyw,
I ddwyn anrhydedd iddo'i hun,
  Neu wybod mai nid cadben yw.

## Golygfa V.

*Nawn Ebrill yn* 1865. *Ty fferm ger Appomatox.* Y Cadfridog Grant, *Cad-lywydd y byddinoedd Gogleddol, dan* Lincoln, *yn eistedd wrth fwrdd, gyda'r* Capten Malins, *Cadweinydd. Mae yn ysmocio mygrolen, ac yn awr ac yn y man, yn llenwi ei wydr whisci.* Dennis, *Cadnegesydd, yn eistedd wrth fwrdd yn y gongl, yn ysgrifennu.*

*Grant* (*yn edrych ar oriawr fawr oedd o'i flaen*): Awr a hanner. Dylai fod rhywbeth yn ychwaneg oddiwrth Meade yn awr, Dennis.

*Dennis* (*yn dyfod at y bwrdd*): Ie, syr.

*Grant:* Ewch â'r papurau hyn i'r Capten Templeman, a gofynwch i'r Milwriad West os yw'r Drydedd ar hugain mewn gwaith eto. Dywedwch wrth y cogydd am anfon potes i mi am ddeg o'r gloch. Dywedwch ei fod yn oer y ddoe.

*Dennis:* O'r goreu, syr.

*Yn mynd.*

*Grant:* Rhoddwch y map yna i mi, Malins.

Malins *yn rhoddi iddo'r map ar yr hwn yr oedd yn gweithio.*

*Grant* (*ar ol myfyr distaw*): Ie, nid oes dim amheuaeth ynghylch y peth. Os na syrth Meade i gysgu, ni fydd

ond yn fater o ychydig oriau. Y mae Lee yn ddyn mawr, ond ni all ddyfod allan o hynyna.

*Yn gwneud cylch ar y map a'i fys.*

*Malins* (*yn cymryd i fyny y map eto*): Dylai hyn fod y diwedd, syr.

*Grant :* Dylai. Os gwnaiff Lee roddi i fyny, gallwn ddechreu partoi am gartref.

*Malins :* Myn Duw, syr, bydd yn ardderchog, oni fydd, i gael mynd gartref eto?

*Grant :* Myn Dyw, fe fydd.

*Malins :* Erfyniaf eich maddeuant, syr.

*Grant :* Yr ydych yn berffaith iawn, Malins. Y mae fy machgen yn mynd i'r ysgol yr wythnos nesaf. Ar fy ngair, efallai y byddaf yn alluog i fynd lawr gydag ef, a'i weld wedi sefydlu yno.

*Dennis yn dyfod yn ol.*

*Dennis :* Dywed y Milwriad West, "Ydyw, syr, am yr hanner awr ddiweddaf." Dywed y cogydd fod yn flin ganddo. Camsynied ydoedd.

*Grant :* Dywedwch wrtho am gadw ei gamsyniadau yn y gegin.

*Dennis :* Gwnaf, syr.

*Yn mynd yn ol i'w le.*

*Grant* (*gyda'i bapurau*): A aeth y drylliau i fyny y 'nawn hwn?

*Malins :* Do, syr.

*Cadnegesydd arall yn dyfod i mewn.*

*Cadnegesydd :* Y mae Mr. Lincoln wedi cyrraedd, syr. Y mae ar y buarth yn awr.

*Grant :* Popeth yn iawn. Mi ddeuaf.

Y CADNEGESYDD *yn mynd.* GRANT *yn codi, ac yn croesi i'r drws, ond yn cyfarfod* LINCOLN *a* SLANEY *mewn esgidiau uchel, a het uchel, oedd wedi gweled llawer o gadgyrchoedd, yn ysgwyd dwylo gyda* GRANT, *ac yn cydnabod amnaid* MALINS.

*Grant :* Nid oeddwn yn eich disgwyl, syr.

*Lincoln :* Na. Ond ni allaswn gadw i ffwrdd. Pa fodd y mae pethau yn mynd?

*Yn eistedd.*

*Grant :* Anfonodd Meade air, awr a hanner yn ol, yn dweyd fod Lee wedi ei gylchynnu, oddieithr dwy filltir, a'i fod ar gael ei gau i mewn.

*Lincoln :* Dylai hynny fod yn derfyn i'r mater, oni ddylai ?

*Grant :* Os nad aiff rhywbeth o le o fewn y ddwy filltir, syr. Yr wyf yn disgwyl adroddiadau pellach oddiwrth Meade bob munud.

*Lincoln :* A fydd rhagor o ymladd ?

*Grant :* Mae'n debyg y golyga y bydd ymladd, fwy neu lai, drwy y nos. Ond rhaid y gwêl Lee erbyn y bore y bydd yn anobeithiol.

*Cadnegesydd* (*yn dyfod i mewn*) : Brysneges, syr.

*Grant :* Ie.

Y CADNEGESYDD *yn mynd, a swyddog ieuanc yn dyfod i mewn o'r maes. Moesymgryma, a chyflwyna frysneges i* GRANT.

*Swyddog :* Oddiwrth y Cadfridog Meade, syr.

*Grant* (*yn ei gymryd*) : Diolch.

*Yn ei agor, ac yn ei ddarllen.*

Ni raid ichwi aros.

Y SWYDDOG *yn moesymgrymu ac yn mynd.*

Ydynt, y maent wedi cau i fyny'r cylch. Y mae Meade yn rhoddi iddynt ddeg awr. Amser hwn yw wyth. Chwech y bore felly.

*Yn rhoddi'r frysneges i* LINCOLN.

*Lincoln :* Rhaid inni fod yn drugarog. Y mae Bob Lee wedi bod yn wron glew.

*Grant* (*yn cymryd papur*) : Efallai y gwnewch edrych drwy y rhestr hon, syr. Gobeithiaf mai dyma'r olaf a gawn.

*Lincoln* (*yn cymryd y papur*) : Mae'n rhan ddychrynllyd o'r gwaith, Grant. A oes rhywun i'w saethu ?

*Grant :* Un.

*Lincoln :* D——, Grant, Paham nad ellwch wneud heb hynny ? Na, na, wrth gwrs, na ? Pwy ydyw ?

*Grant :* Malins.

*Malins* (*yn agor llyfr*) : William Scott, syr. Mae'r achos braidd yn boenus.

*Lincoln :* Pa beth ydyw ?

*Malins :* Yr oedd newydd orffen ymdaith filwrol galed ; ac fe gynhygiodd ei hun yn wirfoddol i wneud gwaith dau er mwyn rhyddhau cyfaill oedd yn sal, a chafwyd ef yn cysgu yn ei safle.

*Yn cau y llyfr.*

*Grant :* Yr oeddwn yn awyddus i'w arbed, ond ni allwn. Yr oedd mewn lle pwysig, a'r amser yn ddifrifol o bwysig.

*Lincoln :* Pa bryd y mae i fod ?

*Malins :* Bore 'fory, ar doriad dydd, syr.

*Lincoln :* Nid wyf yn gweled y bydd yn un lles iddo gael ei saethu. Pa le y mae ?

*Malins :* Yma, syr.

*Lincoln :* A gaf fi ei weled ?

*Grant :* Pa le y mae ?

*Malins :* Yn yr ysgubor, 'rwy'n credu, syr.

*Grant :* Dennis.

*Dennis* (*yn dyfod oddiwrth ei fwrdd*) : Ie, syr.

*Grant :* Gofynnwch iddynt ddwyn Scott yma.

*Dennis yn mynd.*

Y mae arnaf eisiau gweld y Milwriad West. Malins, gofynnwch i Templeman os yw y ffigyrau hynny'n barod eto.

*Ef yn mynd, a* MALINS *yn dilyn.*

*Lincoln :* A wnewch chwi, Slaney ?

SLANEY *yn mynd. Wedi moment, yn yr hon y mae* LINCOLN *yn cymryd y llyfr ag yr oedd* MALINS *yn ei ddarllen, ac yn edrych arno.* WILLIAM SCOTT *yn cael ei ddwyn i mewn o dan warchodaeth. Bachgen ugain oed ydyw.*

*Lincoln* (*I'r gwarcheidwaid*) : Diolch i chwi. Arhoswch o'r tu allan, wnewch chwi ?

*Y dynion yn moesymgrymu ac yn mynd allan.*

Ai William Scott ydych chwi ?

*Scott :* Ie, syr.

*Lincoln :* Gwyddoch pwy wyf fi ?

*Scott :* Gwn, syr.

*Lincoln :* Dywed y Cadfridog wrthyf eich bod wedi eich collfarnu.

*Scott :* Ydwyf, syr.
*Lincoln :* Cysgu pan ar warchodaeth ?
*Scott :* Ie, syr.
*Lincoln :* Trosedd difrifol iawn.
*Scott :* Mi wn, syr.
*Lincoln :* Beth ydoedd ?
*Scott* (*saib*) : Ni allaswn gadw ar ddihun, syr.
*Lincoln :* Yr oeddych wedi bod ar ymdaith faith.
*Scott :* Tair milltir ar hugain, syr.
*Lincoln :* Yr oeddych yn cadw gwarchodaeth ddwbl.
*Scott :* Oeddwn, syr.
*Lincoln :* Pwy orchmynodd ichwi ?
*Scott :* Wel syr, y fi gynhygiodd wneud.
*Lincoln :* Paham ?
*Scott :* Enoch White—yr oedd ef yn sal, syr. Yr ydym yn dyfod o'r un lle.
*Lincoln :* Pa le yw hwnnw ?
*Scott :* Vermont, syr.
*Lincoln :* Yr ydych yn byw yno ?
*Scott :* Ydym, syr. Mae fy . . . Mae gennym fferm i lawr yno, syr.
*Lincoln :* Gan bwy ?
*Scott :* Gan fy mam, syr. Mae ei darlun gennyf.

*Cymer ef o'i logell.*

*Lincoln* (*yn ei gymryd*) *:* A ŵyr hi am hyn ?
*Scott :* Er mwyn Duw, peidiwch, syr.
*Lincoln :* Dyna, dyna, fy machgen. Nid ydych i gael eich saethu.
*Scott* (*wedi saib*) : Ddim i gael fy saethu, syr.
*Lincoln :* Na, na.
*Scott :* Ddim—i—gael—fy—saethu.

*Yn torri i lawr dan grio.*

*Lincoln* (*yn codi a mynd ato*) : Dyna, dyna, yr wyf yn eich credu pan yn dweyd na allasech gadw ar ddihun. Yr wyf yn mynd i ymddiried ynoch, a'ch anfon yn ol at eich catrawd.

*Ef yn mynd yn ol i'w sedd.*

*Scott :* Pa bryd y gallaf fynd yn ol, syr.
*Lincoln :* Gellwch fynd yn ol yfory. Disgwyliaf y bydd yr ymladd drosodd, er hynny.

*Scott :* A yw drosodd yn awr, syr ?

*Lincoln :* Nid yn hollol.

*Scott :* Os gwelwch yn dda, syr, gadewch i mi fynd yn ol heno. Gadewch i mi fynd yn ol heno.

*Lincoln :* O'r goreu.

*Yn ysgrifennu.*

A wyddoch chwi lle y mae'r Cadfridog Meade ?

*Scott :* Na wn, syr.

*Lincoln :* Gofynnwch i un o'r dynion yna ddyfod yma.

SCOTT *yn galw un o'i warcheidwaid i mewn.*

*Lincoln :* Y mae eich carcharor wedi ei ryddhau. Cymrwch ef ar unwaith at y Cadfridog Meade gyda'r papur hwn.

*Yn rhoi llythyr i'r dyn.*

*Milwr :* O'r goreu, syr.

*Scott :* Diolch i chwi, syr.

*Yn moesymgrymu, ac yn mynd allan gyda'r milwr.*

*Lincoln :* Slaney.

*Slaney* (*o'r tu allan*) : Ie, syr.

*Yn dyfod i mewn.*

*Lincoln :* Beth yw yr amser ?

*Slaney* (*yn edrych ar yr oriawr ar y bwrdd*) : Hanner awr wedi naw yn union, syr.

*Lincoln :* Mi a gysgaf fan hon am ychydig. Mae'n well i chwithau ysgwyd i lawr hefyd. Gwnant ein deffro os daw newydd.

LINCOLN *yn rhwymo ei hun i fyny, ac yn taflu ei hun ar ddwy gadair :* SLANEY *yn gwneud yr un peth ar fainc. Ymhen ychydyg eiliadau, mae* GRANT *yn dyfod i'r drws, yn gweld beth sydd wedi digwydd, yn chwythu allan y canhwyllau yn dawel, ac yn mynd ymaith.*

Y LLEN YN DISGYN.

*Y Croniclydd cyntaf :*

O dan y ser y diwedd ddaw,
Ac ar y maes, y De mewn braw
    I lawr yn syrthio,—

Lle bu ymrafael, undeb sydd,
Lle bu caethiwed rhyddid fydd
Mae'r gair i'w goelio . . . .
A'r nos a gilia.

*Y Llen yn codi ar yr un olygfa,* LINCOLN *a* SLANEY *o hyd yn gorwedd yng nghwsg. Mae gwawr y dydd yn llanw'r ystafell. Cadnegesydd yn dyfod i mewn a dau gwpanaid o goffi cynnes, ac ychydig gras-deisennau.* LINCOLN *yn deffro.*

*Lincoln :* Bore da.

*Cadnegesydd :* Bore da, syr.

*Lincoln* (*yn cymryd y coffi a'r cras-deisennau*) : Diolch ichwi.

Y CADNEGESYDD *yn troi at* SLANEY, *yr hwn sydd yn cysgu ymlaen, ac y mae'n petruso.*

*Lincoln :* Slaney (*yn gwaeddi*) Slaney.

*Slaney* (*yn neidio i fyny*) : Helo. Beth yn enw'r diafol sydd yna. Erfyniaf eich maddeuant, syr.

*Lincoln :* Ni raid o gwbl. Cymrwch ychydig goffi.

*Slaney :* Diolch i chwi, syr.

*Yn cymryd coffi a chras-deisennau.* Y CAD-*negesydd yn mynd.*

*Lincoln :* Gysgasoch chwi yn dda, Slaney.

*Slaney :* Teimlaf ychydig yn grebachlyd. Yr wyf yn meddwl i mi sythrio ymaith unwaith.

*Lincoln :* Beth yw yr amser ?

*Slaney :* (*yn edrych ar yr oriawr*) Chwech o'r gloch.

*Grant yn dyfod i mewn.*

*Grant :* Bore da, syr. Bore da, Slaney.

*Lincoln :* Bore da, y Cadfridog.

*Slaney :* Bore da, syr.

*Grant :* Ni ddarfu i mi aflonyddu arnoch neithiwr. Y mae neges newydd ddyfod oddiwrth Meade. Y mae Lee yn gofyn am gadoediad am bedwar o'r gloch.

*Lincoln* (*wedi saib ddistaw*) : Am bedair blynedd, nid yw bywyd wedi bod yn ddim ond disgwyliad am y foment hon. Rhyfedd mor syml yr ymddengys wedi iddi ddyfod.

Grant, yr ydych wedi bod o wasanaeth gwirioneddol i'ch gwlad. Ac yr ydych wedi gwneud fy ngwaith i yn bosibl.

*Yn ysgwyd dwylo.*

Diolch i chwi.

*Grant :* Pe buaswn wedi methu, nid eich bai chwi fuasai hynny, syr. Yr wyf fi wedi llwyddo oblegid eich bod chwi yn credu ynof.

*Lincoln :* Pa le y mae Lee ?

*Grant :* Mae'n dyfod yma. Dylai Meade fod yma ar unwaith.

*Lincoln :* Pa le y caiff Lee aros ?

*Grant :* Y mae ystafell yn barod iddo. A wnewch chwi ei dderbyn, syr ?

*Lincoln :* Na, na, Grant, eich gwaith chwi yw hynny. Peidiwch sôn am faterion gwleidyddol. Byddwch yn haelfrydig. Ond ni raid i mi ddweyd hynny.

*Grant :* (*yn cymryd papur o'i logell*) *:* Dyna'r telerau a awgrymaf.

*Lincoln* (*yn darllen*) *:* Ie, ie, y maent yn gosod anrhydedd arnoch.

*Mae'n rhoddi'r papur ar y bwrdd.* CADNEGESYDD *yn dyfod i mewn.*

*Cadnegesydd :* Y mae'r Cadfridog Meade yma, syr.

*Grant :* Dywedwch wrtho am ddyfod yma.

*Cadnegesydd :* O'r goreu, syr.

*Ef yn mynd.*

*Grant :* Mi a ddysgais lawer oddiwrth Robert Lee yn fy nyddiau boreol. Y mae yn well dyn na'r rhan fwyaf ohonom. Y mae'r gorchwyl hwn yn sicr o fyned yn ddwfn i'r galon, syr.

*Lincoln :* Yr wyf yn falch ei fod i'w gyflawni gan wronfoneddwr, Grant.

Y CADFRIDOG MEADE, *a'r* CAPTEN SONE, *ei gadweinydd, yn dyfod i mewn.* MEADE *yn moesymgrymu.*

*Lincoln :* Llongyfarchiadau, Meade. Yr ydych wedi gwneud yn rhagorol.

*Meade :* Diolch i chwi, syr.

*Grant :* A fu yna lawer ychwaneg o ymladd ?

*Meade :* Bu yn lled boeth am awr neu ddwy.

*Grant :* Pa mor hir y bydd Lee ?

*Meade :* Dim ond ychydig funudau, mi dybiaf, syr.

*Grant :* Nid ydych wedi dweyd dim am delerau.

*Meade :* Nac ydwyf, syr.

*Lincoln :* A ddaeth bachgen o'r enw Scott atoch ?

*Meade :* Do, syr. Cymrodd ei le yn y rheng ar unwaith. A lladdwyd ef, oni do, Sone ?

*Sone :* Do, syr.

*Lincoln :* Wedi ei ladd ? Byd rhyfedd yw hwn, Grant.

*Meade :* A oes yna ryw gyhoeddiad i'w wneud, syr, gyda golwg ar y gwrthryfelwyr.

*Grant :* Yr wyf ——,

*Lincoln :* Na, na, ni fynnaf grogi na saethu y dynion hyn, hyd yn oed y gwaethaf ohonynt. Dychrynwch hwynt allan o'r wlad, agorwch y clwydi, gadewch y barrau i lawr, a gyrrwch hwynt i ffwrdd. Hysiw !

*Yn taflu allan ei freichiau.*

Da bo'ch chwi, Grant. Rhoddwch adroddiad yn Washington gynted ag y galloch.

*Yn ysgwyd dwylo gydag ef.*

Da bo'ch chwi, foneddigion. Deuwch ymlaen, Slaney.

MEADE *yn moesymgrymu.* LINCOLN yn *mynd allan, a* SLANEY *ar ei ol.*

*Grant* : Pwy sydd gyda Lee ?

*Meade :* Dim ond un o'i osgorddlu, syr.

*Grant :* Gwell i chwi weled Malins, wnewch chwi, Sone ? A gadewch i mi wybod ar unwaith pan gyrhaedda'r Cadfridog Lee.

*Sone :* O'r gore, syr.

*Ef yn mynd.*

*Grant :* Wel, Meade, y mae wedi bod yn orchwyl mawr.

*Meade :* Ydyw, syr.

*Grant :* Dangosasom wroldeb a phenderfyniad. A dangosasom fedr i guro milwr mawr. Mi a ddywedwn hynny wrth unrhyw ddyn. Ond Abraham Lincoln, Meade, sydd wedi cadw i ni achos mawr yn lân i ymladd drosto. Y mae yn gwneud lles i galon dyn i wybod fod y fuddugol-

iaeth wedi ei rhoddi i'r fath ddyn i'w thrafod. Gwydriad, Meade ? (*yn arllwys whisci*). Na ? (*yn yfed*).

A wyddoch chwi, Meade, y mae rhyw ffyliaid wedi bod am i mi ddyfod allan yn erbyn Lincoln am yr Arlywyddiaeth nesaf. Y mae yn perthyn i mi fy ngwageddau, ond mi wn yn well na hynny.

MALINS *yn dyfod i mewn.*

*Malins :* Y mae'r Cadfridog Lee yma, syr.

*Grant :* Meade, a wnaiff y Cadfridog Lee fy anrhydeddu trwy fy nghyfarfod yma ?

MEADE *yn moesymgrymu, ac yn mynd.*

*Grant :* Pa le yn enw'r ellyll y mae fy het, Malins ? A'm cleddyf ?

*Malins :* Yma, syr.

MALINS *yn eu cael iddo.* MEADE *a* SONE *yn dyfod i mewn, ac yn sefyll wrth y drws ar eu gofal.* ROBERT LEE, *Cadfridog pennaf y lluoedd Cyngreiriol, yn dyfod i mewn, yn cael ei ddilyn gan un o'i osgorddlu. Y mae'r dyddiau o gyfrifoldeb pwysig, drwy y rhai y mae ef wedi byw wedi gadael eu hol ar wyneb Lee. Ond y mae ei wisgiad manwl a thrwsiadus yn cyferbynnu yn neilltuol ag ymddangosiad diystyr* GRANT. *Mae'r ddau Gadflaenor yn wyneb ei gilydd.* GRANT *yn moesymgrymu a* LEE *yn ateb.*

*Grant :* Syr, yr ydych wedi rhoddi i mi achlysur i fod yn falch o'm gwrthwynebydd.

*Lee :* Ni arbedais fy nerth. 'Rwy'n cydnabod fy ngorchfygiad.

*Grant :* Yr ydych wedi dyfod———

*Lee :* I ofyn ar ba delerau y derbyniwch fy ymostyngiad. Ie.

*Grant* (*yn cymryd y papur oddi ar y bwrdd, a'i roddi i* LEE) : Y maent yn syml, ac mi obeithiaf y teimlwch eu bod yn haelfrydig.

*Lee* (*wedi darllen y telerau*) : Yr ydych yn fawrfrydig, syr. A gaf fi awgrymu un peth ?

*Grant :* Bydd yn fraint i mi gael ei ystyried.

*Lee :* Yr ydych yn caniatau i'n swyddogion i gadw eu ceffylau. Y mae hynny yn raslon. Y mae ceffylau ein marchoglu hefyd yn perthyn iddynt hwythau.

*Grant :* 'Rwy'n deall. Bydd eu hangen ar y ffermydd. Boed felly.

*Lee :* Diolch i chwi. Aiff hyn ymhell i ennill serch ein pobl. Yr wyf yn derbyn eich telerau.

LEE *yn dadfwclu ei gledd, ac yn ei gynnyg i* GRANT.

*Grant :* Na, na. Dylaswn fod wedi cynnwys hwnyna. Dim ond un lle sydd yn briodol iddo. 'Rwy'n deisyf arnoch.

LEE *yn rhoddi ei gleddyf yn ei le.* GRANT *yn cynnyg ei law a* LEE *yn ei chymryd. Maent yn moesymgrymu, a* LEE *yn troi i fynd.*

Y LLEN YN DISGYN.

*Y Ddau Groniclydd :*

Y nos fe chwythai y gwynt
 A chollodd y rhosyn ei wrid,
Llafuriodd, a gwenodd ar hynt,
 Tegwch ydoedd i gyd :
Tywynnai heulwen haf,
 Blagur dan wlith a gaed,
A diolch a moliant braf
 Oedd y rhosyn yn y gwaed.

Gyda'r nos daeth y rhewynt oer,
 Syrthiodd y rhosyn i lawr,
Fe'i chwalwyd yng ngoleu y lloer,
 Ni wêl Mehefin ei wawr ;
Fe gollodd ei degwch yn llwyr,
 Pa fodd gall y flwyddyn hir
Gadw'r tlysni hwnnw nas gŵyr
 Ddyfod yr haf i'r tir.

Rhosynnau. O galon dyn,
 Gwroldeb gaed yn ei ddydd
Yn gweld gwirionedd, yn tynnu llun
 Amser dyfodol er yn gudd,

I flodeuo'n llawn ar boen
   Twyllodrus y ddaear ddu,—
Chwyth y gwynt, ymenydd a hoen
   Dry'n llwch, megis cynt y bu.

Pa beth a ddywed y tyst,
   Yr hwn yn unig a wêl
A llygad y meddwl a'r glust
   Y t'wyllwch fu dan gel:
Clywch, o eitha'r tywyllwch du,
   Daw geiriau doethineb o hyd,
Chwyth y gwynt, a gwefusau cu
   Proffwydoliaeth sy'n fud.

## GOLYGFA VI.

*Prynhawn Ebrill y* 14, 1865. *Ystafell fechan yn y Chwaraedy. Ar yr ochr hwnt, y mae drysau tri o gorau* (*boxes*) *preifat. Distawrwydd am ychydig eiliadau. Yna daw swn cymeradwyaeth o'r chwaraedy tu hwnt. Agorir drysau'r corau. Yn y côr canol, gwelir* MR. LINCOLN *a* MR. STANTON, MRS. LINCOLN, *boneddiges arall a swyddog, yn siarad ynghyd. Daw meddianwyr y corau eraill allan i'r ystafell, lle y mae cwmnïoedd bychain o bobl wedi ymgasglu o bob cyfeiriad, ac yn sefyll, neu yn eistedd, gan siarad yn brysur.*

*Boneddiges:* Digrif iawn. Beth feddyliwch chwi?

*Ei Chydymaith:* O ie. Ond o'r braidd y mae yn ffyddlon i fywyd, ai ie?

*Boneddiges arall:* Onid yw y ferch acw, sy'n ymddangos mewn du, yn dalentog? Beth yw ei henw?

*Boneddwr* (*yn edrych y rhaglen*)*:* Eleanor Browne.

*Boneddwr arall:* Y mae awel oer ddychrynllyd yn dyfod trwy'r drws, onid oes? 'Rwy'n siŵr o gael gwddf caeth.

*Ei wraig:* Chwi ddylech wisgo ysgarff.

*Y Boneddwr:* Mae'n edrych mor hynod.

*Boneddiges arall:* Mae'r Arlywydd yn edrych yn ddedwydd iawn heno, onid yw?

*Un arall :* Dim yn rhyfedd, ydy e'? Rhaid ei fod yn ŵr balch.

*Dyn ieuanc, wedi gwisgo mewn du, yn ymsymud ymysg y bobl, yn edrych yn lladradaidd i gôr* LINCOLN, *ac yn diflannu. Ei enw yw* JOHN WILKES BOOTH.

*Boneddiges (yn cyfarch un arall) :* O Mrs. Bennington, pa bryd yr ydych yn disgwyl eich gŵr yn ol?

*Maent yn myned ymaith bob yn ychydig.* SUSAN *yn dyfod i mewn, dan gario clogynau, a dillad eraill. Yn myned i'r côr, ac yn siarad â* MRS. LINCOLN. *Yna daw allan, ac eistedda i lawr o'r neilltu oddiwrth y dorf i ddisgwyl.*

*Dyn ieuanc :* Tueddir fi i gymryd y llwyfan fy hun. Y mae fy nghyfeillion yn dweyd fy mod yn dda iawn. Ond yr wyf yn ofni nad yw fy iechyd yn ddigon cryf.

*Merch :* O rhaid ei fod yn fywyd ysgafn iawn. Dim ond actio—mae'n rhwydd ddigon.

*Llef yn galw* " LINCOLN " *yn dyfod drwodd o'r Chwaraedy. Dilynir hi gan fanllefau o " Yr Arlywydd," " Anerchiad," " Abraham Lincoln," " Y Tad Abraham," ac yn y blaen. Yr ymddiddan yn yr ystafell fach yn peidio, fel y mae'r siaradwyr yn troi i wrando. Wedi ychydig eiliadau, gwelir* LINCOLN *yn codi. Bloedd o gymeradwyaeth. Y mae'r bobl yn yr ystafell yn sefyll o amgylch drws y côr.* LINCOLN *yn codi ei law. Distawrwydd ar unwaith.*

*Lincoln :* Fy nghyfeillion, yr wyf wedi fy nghyffwrdd, fy nghyffwrdd yn ddwfn, gan yr arwydd hon o'ch ewyllys da. Ar ol pedair blynedd dywyll ac anodd, yr ydym wedi cyrraedd yr amcan, er mwyn yr hwn yr euthom allan. Y mae gwaith y Cadfridog Lee yn rhoddi i fyny i'r Cadfridog Grant yn peri nad oes ond un gallu cyngreiriol ar y maes, ac y mae'r diwedd yn yr ymyl, ac yn sicr (cym.). Ychydig iawn sydd gennyf i ddweyd ar hyn o bryd. Nid wyf yn cymryd arnaf fy mod wedi llywodraethu yr amgylchiadau; ond cyffesaf yn rhwydd fod yr amgylchiadau wedi fy llywodraethu i. Ond fel y deuai y digwyddiadau gerbron,

edrychwn arnynt bob amser gydag un ffydd. Yr ydym wedi diogelu yr Undeb Americanaidd, ac yr ydym wedi diddymu yr hyn oedd yn ddrwg mawr (cym.). Y mae'r gorchwyl o gymodi, o osod i fyny drefn, lle yn awr mae anhrefn, o ddwyn oddi amgylch drefniant fydd ar unwaith yn gyfiawn, ac yn drugarog, ac o gyfarwyddo bywyd y wlad ail-unedig i sianelau llwyddiannus o ddaioni a mawrfrydigrwydd, yn galw am ein holl ddoethineb a'n holl deyrngarwch. Dyma obaith balchaf fy mywyd, y gallaf fi gael bod o ryw wasanaeth yn y gwaith hwn (cym.). Pa beth bynnag a fydd, ni all fod ond yn ychydig mewn ffordd o gydnabyddiaeth am y caredigrwydd a'r cydymddwyn a dderbyniais. Heb falais at neb, gyda chariad at bawb, y mae gennym, dan Dduw, i benderfynu y caiff y genedl hon weled genedigaeth newydd i ryddid, ac na chaiff llywodraeth y bobl, gan y bobl, ac er mwyn y bobl, farw o'r tir.

*Swn mawr o gymeradwyaeth. Mae'n distewi, ac y mae bachgen yn pasio trwy yr ystafell ac yn gwaeddi allan "Yr act olaf, foneddigesau a boneddigion." Y mae'r bobl yn ymwahanu, a drysau'r corau yn cael eu cau. Gadewir* Susan *yn unig, ac y mae distawrwydd. Wedi ychydig eiliadau daw* Booth *i'r golwg. Gwylia* Susan, *a gwêl fod ei hedrychiad yn sefydlog i ffwrdd oddi wrtho ef. Mae'n symud yn ddistaw i'r côr canol, ac yn rhyddhau ei law odditan ei glog. Mae'n dal llawddryll. Gan fantoli ei hun, egyr y drws gyda symudiad cyflym—tania, caua'r drws a rhed i ffwrdd. Teflir y drws yn agored eto, ac y mae swyddog yn erlyn ar ei ol. O fewn y côr, y mae* Mrs. Lincoln *ar ei gliniau, yn cael ei chynorthwyo gan* Stanton. *Meddyg yn rhedeg yn groes i'r ystafell, ac yn myned i'r côr. Y mae perffaith ddistawrwydd yn y chwaraedy. Y drws yn cau eto.*

*Susan* (*wedi rhedeg at ddrws y côr, yn penlinio ac yn crio*): Meistr! Meistr! Na, na, nid fy Meistr!

*Drysau'r corau eraill wedi agor, a'r meddian-*

*wyr, gydag eraill, wedi ymgasglu yn fân gwmni-oedd ofnus yn yr ystafell. Y drws canol yn agor, a* STANTON *yn dyfod allan gan ei gau ar ei ol.*

*Stanton :* Yn awr y mae yn perthyn i'r oesoedd.

Y CRONICLWYR YN LLEFARU.

*Y Croniclydd cyntaf :*

Mae digwyddiadau'n bod, ac unrhyw ddydd
Galanas arnom ddaw, a'i hergyd rhydd.
Fel hyn ein dynwaredol act a fu
I ninnau, Geraint, megis breuddwyd du.

*Yr ail Groniclydd :*

Ond fel y traethem, sefyll megis llyw,
Ar bob digwyddiad wnai cymeriad byw.
Fe bery hwnnw, dyna'r prawf i ddyn
Ei fod bob pryd i lywodraethu ei hun.

Y LLEN YN DISGYN.

DIWEDD.

# Y CYMERIADAU.

---

Y Croniclydd Cyntaf.
Yr Ail Groniclydd.
Mr. Stone.
Mr. Cuffney.
Susan Deddington.
Mrs. Lincoln.
Abraham Lincoln.
William Tucker.
Henry Hind.
Elias Price.
James Mackintosh.
William Seward.
Johnson White.
Caleb Jennings.
Hawkins.
Yr Ail Ysgrifwas.
Y Trydydd Ysgrifwas.
Mr. Slaney.
Y Gennad.
Salmon Chase.
Montgomery Blair.
Simon Cameron.
Caleb Smith.
Burnet Hook.
Gideon Wells.
Mrs. Goliath Blow.
Mrs. Otherly.
Frederick Douglas.
Edwin Stanton.
Y Cadfridog Grant.
Y Capten Malins.
Dennis.
Swyddog.
William Scott.
Y Milwr Cyntaf.
Yr Ail Filwr.
Y Cadfridog Meade.
Y Capten Stone.
Y Cadfridog Lee.
Un o'i Osgorddlu.
John Wilkes Booth.
Meddyg.
Foneddigesau a Boneddigion.

